# TYSTIOLAETH

## y Credadyn am ei hawl

IR

# NEFOEDD

NEU

Gynnig byr tuag at gyſſur Criſnogol, neu lawenydd yſbrydol. Ymha un, y dychon y Criſtion gwan wneuthur allan ei hawl i'r Etifeddiaeth Nefol, neu wneud ei *Alwedigaeth ai Etholedigaeth yn Sicr*, trwy'r madroddion mwya eglur a chynnefin. Wedi ei amcanu yn ddi ragrith er *ehangu calon y* gwir griſtion i *redeg ffordd gorchymynion* DUW: ac er gwneuthur IAU CRIST yn *eſmwyth* ai *faich yn yſgafn*: a gwneud ffordd tu-ag-at farwolaeth gyſſurus y Credadyn.

---

A GYFIAETHWYD O'R TRYDYDD ARGRAPHIAD YN SAESNAEG gan JOSUA THOMAS.

---

ESAY xl. 1. *Cyſſurwch, Cyſſurwch fy mhobl, medd eich* DUW. *Dywedwch wrth fodd calon* Jeruſalem
1 THES. v. 14. *Ond yr ydym yn deiſyf arnoch frodyr, rhybyddiwch y rhai afreolus, diddenwch y rhai gwan eu meddwl, cynhelwch y gweiniaid.*
2 COR. XIII. 5. *Profwch chwychwi eich hunain a ydych yn y ffydd: holwch eich hunain.*

---

Argraphwyd yng NGHAERFYRDDIN, gan EVAN POWEL, yn y Flwyddyn, 1757.

# At y Darllenydd Duwiol ymofyngar.

Nid wyf yn gweled yn angenrheidiol ir llyfyr bychan hwn, wrth llythyr canmoliaeth, gan ei fod, wedi ei fylfaenu ar'r ysgrythurau, ai gymhwyso at archwaeth y Duwiol, gyda chymmaint o brofiadau; yn y faeth fodd, ac nas gallat farnu na chai di ef [ wrth ei ddarllen] yn Fwyd, wrth dy fôdd: Ni chlywais i fon am dano, nes danfonodd y cyfiaithudd ef imi [ mewn fgrifen-law ] wedi ei gyfiaithu; gan amlygu, iddo ef gael llawer o hyfrydwch ynddo, ( yr hyn, mae 'n debig a barodd iddo ei gyfiaithu ) a dweyd, Os gwele neb yn gymmwys ei argraffu: ond wedi imi edrych drosto nid oedd ryfedd gennyf fôd Dyn crefyddol yn cael hyfrydwch yntho: y nôl hynny, mi amlygais am dano, [ai gynhywufiad ] i amriw, a hefyd amlygâis, fy nymuniad ir Duwolion, ynghymru gael y bydd o hono, trwy ei gael yn argraffedig: ond ni ddealiais fod neb mewn bwriad iw gymemryd yn llaw; am hynny [ gan hiraethy am idddo fod o fudd cyffredinol] mi ym roddais ir Draul fy hun ; gan farnu nad oes un gwir Dduwiol ac ai darlleno, na chaiff lawer o fudd, a hyfrydwch yntho; os rhoddiff Duw ei fendith yr hwn yw Dymyniad calon dy wasnaethwr ewyllysgar, hyd ac y gallo, yn achos dy Enaid.

TIMOTHY THOMAS.

§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§§



## Y CYFIAETHYDD AT Y DARLLENYDD.

# Y Cymro Caredig,

*ER bod Rhagluniaeth wedi trefnu imi fyw dros ryw amser ymhlith* y Saison; *etto gwybydd, nad wyf wedi anghofio, na dibrisio gwlâd fy ngenedigaeth, na jaith fy Mam*; gwîr ewyllys fy nghalon, am gweddi ar DDUW dros y *Cymru* sydd er jachydwriaeth. *Er tistiolaeth o hyn, yr wyf yn anfon attat* y *Llyfr bychan hwn, wedi ei Gyfiaethu mor gywyr ac y gellais. Mae yn fy mryd i ddywedyd wrthyt ryw beth yn fyr jawn am y Cynhwysiad ar Cyfiaethiad o hono.*

1. Am y Cynhwysiad. *Od wyt ddyn wedi dy gyfnewyd trwy râs, beth bennag yw dy amgylchiad, pa un ai gofydus ai gorfoleddus, odid na chat ynddo ryw beth perthynol ith gyflwr. Ond os wyt yn cael dy flino yn fawr gan* amheuon ac ofnau *ynghylch dy gyflwr tragwyddol, gobeithio y bydd o ddefnydd neullduol i ti, trwy fendith yr ARGLWYDD. Os bodlona efe di gymaint wrth ei ddarllen, ag y bodlonodd efe fi, ni weli di ddim oi Brîs yn rhy fawr, mwy nag y gwelais i'r poen iw gyfiaithu. Os gweli ynddo ryw beth na b'ost yn cytuno ag êf, na wrthod y rhan arall er mwyn hynny. O'm rhan i, yr wyf yn tybied nad oes ynddo fawr bethau nad yw pob dyn gwîr dduwiol yn cytuno a hwynt.*

2. AM Y CYFIAITHIAD. *Er na chanlynais eiriau 'r Awdwr yn llythurennol 'mhob man; etto ymdrechais i gadw ei feddwl yn ffyddlon ac yn gyflawn trwyddo fe ŵyr pawb ac sy'n deall Cyfiaithu,*

*mai nid y Cyfjaithiad goreu o un jaith; yw yr hwn fydd yn canlyn y llythuren yn rhy fanol; ond yr hwn fy 'n amlygu 'r meddwl yn ddi duedd; yr hyn a wneuthym i hyd y gellais. Gwneuthym fy ngoreu hefyd i ofod y jaith yn rhwydd iw deall, i bawb ac fy'n deall jaith 'r yfgrythur: canys nid arferais fawr jawn o eiriau nad ynt yn yr yfgrythur, os arferais rai. Ac yn wir yr wyfi 'n meddwl am bob peth mewn crefydd, ac y fgrifenner yn* gymraeg, *mae 'r ffordd oreu i bob* Cymro *ei ddeall, yw tueddu at yr yfgrythur, mor agos ac y bo lle. Y beiau a ganfydd-ech, attolwg, maddeu a gwella hwynt, ac ymdrecha i yftyried y fylwedd.*

*Bellach, dymunaf i ti helaethrwydd o râs, i'th gym-hwyfo ir NEFOEDD; a golwg amlwg ar dy hawl yn holl gyflawnder CRIST o râs a gogoniant, felly bo dy orfoledd mor llawn, ac mor fanctaidd ac y gwnêl i ti ddechreu cân y gwaredigion tra fydaech ar y ffordd tua fion orfoleddus. Yn dy weddiau, tra f'om ar ein taith, cofia am*

*Dy Wafanaethwr ewyllyfgar*

*yn enwedig yn achos dy Enaid,*

*LLANLLIENI.*

28. o Ebrill. Jofua Thomas.

1757.

# TYSTIOLAETH

*Y Credadyn am ei hawl ir* NEFOEDD. &c

## Yr Arweiniad I Mewn



N fy ymddiddan a rhai Criſnogion pruddaidd, bum barod i feddwl fod rhai o honynt yn gorwedd dan y camſynniad triſt hwn; ſef, *tebig, fod rhan fawr o grefydd y Criſtion yn gynnwyſedig mewn ambeuon ac ofnau: neu mae rhinwedd yw, bod yn achwyn agos yn waſtadol.* Ond pwy lê bennag y ddichon y pethau hyn gael ym mywyd y criſtion; etto, bod yn waſtad yn ammeu, ac yn achwyn, yw 'r modd i ddwyn *drygair* ar ddaionus ffyrdd DUW, a chadarnhau eraill yn eu rhag-farn yn eu herbyn. Mae criſtion di-galon, yn debig i offeryn cerdd allan o hwyl, yr hwn ni wnâ ddim cerddoriaeth, nes ei oſod mewn trefn: felly mae criſtion dan *ofnau* ac *ambeuon*, yn angymmwys i foliannu DUW neu i ddiddanu a nerthu eraill. canys y mae 'n anghofio trugareddau *gynt*, yn edrych dros drugareddau preſennol, ac yn ammeu y rhai i ddyfod. Felly *trwy ei ddrwg dueddiad*, mae DUW yn cael ei ddianrhydeddu, crefydd, ei enaid ei hun, ac eraill yn dioddef. gan hynny dylai fod ne ynghalon pob plentyn i DDUW *i lawenychu yn yr* ARGLWYDD,

*a bôd yn hyfryd yn* NUW *ei jechydwriaeth. Hab.* III. 18. *j orfoleddu yng NGHRIST JESU, ac i lawenychu fod ei enw yn sgrifennedig yn llyfr y bywyd.* yr wyf yn cyfaddef y dychon llawer o anwyl blant DUW, ac *fydd yn ofni yr ARGLWYDD, ac yn gwrando ar lais ei wâs ef,* etto *rodio mewn tywyllwch ac heb lewyrch* iddynt. Esa. l. 10. Ond fe ddychon plant DUW eu hunain, fod yn achos o lawer o'r tywyllwch yma. Y maent yn ym boeni i farwhâu *pechod*; eithr nid y'nt yn ei weled yn ddyledfwydd arnynt i lafurio am *gyssur.* Diammeu gennyf, pe bae 'r gwir gredinjol yn ei weled yn ddyledfwydd arnynt, i lawenychu yn yr ARGLWYDD, ac i orfoleddu yng NGRIST JESU, y cymmerent fwy o ofal yn ei gylch: o blegid, fel y mae eu calon yn union gyda DUW, y maent yn *edrych ar ei holl orchymynion ef.* ps. CXIX. 6. Er dangos fod hyn yn ddyledfwydd arnynt, nid rhaid chwanegu, ond yr un gorchymyn eglur hwnnw, *llawenhewch yn yr ARGLWYDD yn wastadol a thrachefn, meddaf llawenhewch.* phil. IV. 4. I'r diben hwn, ymhlith pethau eraill, y cawn y gorchymyn hwnnw wedi ei adael i ni *byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth, a'ch etholedigaeth yn sicr.* 2 Pet. I. 10. lle gallwn ddal fylw ar y pum peth yma:

I. I fod y fath beth ac Etholedigaeth.

[1]cawn yr athrawiaeth hon wedi ei sicrhau trwy 'r y madrodd o *Ddewisiad DUW. megis yr etholodd efe ni ynddo ef* cyn *Seiliad y Býd. Eph.* 1. 4.

[2] cawn yr athrawiaeth hon wedi ei sicrhau trwy 'r ymadrodd *Ordeiniad. A chynniser ac oedd wedi eu* hordeinio *i fywyd Tragwyddol a gredasant. Act.* XIII. 48.

[3] Ni ai cawn dan yr ymadrodd *rhaglunjaethu* neu *rhagdrefnu. y rhai a rag-wybu, a raglunjodd:* hynny yw, a etholodd, a ddewisodd, a ordieniodd ac a drefnodd i fywyd tragwyddol. Rhyf ,VIII. 29 30.

[4] mae amlder o destynau o'r 'fcrythyr ymha rai y cawn y geiriau, *etholedigjon*, *etholedig*, *etholedigaeth*, Mat. XXIV. 22, 24, 31. rhyf. VIII. 33. a'IX. II. a'r XI 5 col. III. 12. Thesf. I. 4 2 Tim. II. 10 Tit. I. I. I Pet. I. 2. gyd â llawer jawn yn chwaneg. Gan hynny, y mae y rhai a fynnant osod heibio yr athrawiaeth hon, dan angenrheidrwydd i ddileu allan ran fawr o'r yscrythur lân neu eu difetha ymaith o'r Eglwys. Ond ystyrient y testyn arswydus hwnnw *Ac o thyn neb ymaith ddim oddi wrth eiriau llyfr y brophwydoliaeth hon, DUW a dyn ymaith ei ran ef allan o lyfr y bywyd.* Dad. XXII. 19.

II. Fod yr adnabyddiaeth o *etholedigaeth* i'w chyrhaeddid. canys, fe dderbyniodd ac fe fwynhâodd llawer yr adnabyddiaeth o'i ffrwythau a'i heffeithiau diamheuol, ac y mae amryw etto yn ei derbyn, ac yn eu mwynhau, fel y mae 'n amlwg trwy 'r cyfryw ymadroddion ar rhai'n; *Nyni a wyddom ddarfod ein symmud ni o Farwolaeth i fywyd.* 1Jo. III. 14. *Coron cyfiawnder*, yr *hon a rydd yr ARGLWYDD y Barnwr cyfiawn i mi yn y dydd hwnnw.* 2Tim. 4. 8 Gallwn wybod ein hetholedigaeth y tair ffordd yma.

( 1 ) Trwy awdurdod gair Duw ar ein calonnau. *Gan wybod, Frodyr anwyl, eich* etholedigaeth *chwi gan Dduw: o blegid ni bu ein hefengyl*

*ni*

*ni tu ag attoch mewn gair* yn *unig*; *eithr* hefyd *mewn* neith &c. 1 Theſſ. 1. 4. 5.

( 2 ) Gellir ei gwybod trwy ein *ffydd* yn JESU GRIST. *A chynnifer ac oedd wedi eu hordeinio i* fywyd *Tragwyddol a* gredaſant, Act. XIII. 48.

( 3 ) Gallwn wybod ein *hetholedigaeth*, trwy ein caſineb at bechod, a'n cariad at, a hiraeth am Sancteiddrwydd. *Oblegid i Dduw o'r dechreuad eich* ethol *chwi i jechadwriaeth*, *trwy* Sanctejdd-iad yr YSBRYD. 2 Theſ. II. 13.

III. Y dychon rhai, ie o'r Brodyr; fod mewn *ambeuaeth* ymherthynas iw hawl ynddi.

( 1 ) Eiſiau chwilio eu calonnau yn *ddiwyd* a chymharu eu hunain â gair DUW. Pa ddull y dychon neb wybod pa fodd y mae rhwng DUW a'u heneidiau, oni roddant *gwbl ddiwydrwydd* i hynny?

( 2 ) Er dyſgu i ni, fod DUW yn Ben-llywodraethwr hollol, ac y dychon gyfrannu ei weithredoedd o râs fel y gwelo 'n dda.

( 3 ) Er mwyn eu cadw yn iſel, mewn coffadwriaeth o bechod: ac er gwneuthur pechod yn chwerwach.

( 4 ) Er dyſgu iddynt fyw yn fwy wrth *ffydd* nag wrth *Olwg*. Pe bai trugareddau 'r ffyddloniaid yn waſtad yn llaw, p'le y byddai llê i weddi, ffŷdd, gobaith, ac ammynedd?

( 5 ) Er dyſgu iddynt beidio a byw ar eu tymherau, au cyſſurus brofiadau; ond ar JESU GRIST, a'r cyfammod grâs, a'i gyflawder, trwy ffŷdd. I arferyd ffydd o ymorphwyſiad ar GRIST, pan y b'ont

b'ont yn y diffig o ficrwydd a chyffur.

( 6 ) Fel y gallont brifio'r Drugaredd yn fwy pan y dêl, a bod yn fwy diolchgar i DDUW am drugaredd mor fawr, mor dda, mor berthynol, ac mor rhâd.

( 7 ) Er eu gwneuthur yn Grif'nogjon mwy profiadol, ac yn fwy cymmwys i gynnorthwyo y *rhai a demptir* a thofturjo wrth y rhai fŷ mewn trallod.

IV. Mai dyledfŵydd y Brodyr, neu bob credadyn yw, rhoddi cwbl ddiwŷdrwŷdd i gyrhaeddid yr adnabyddjaeth o'u *hetholedigaeth.* Mae hyn yn gorwedd yn eglur yn ffurf y geirjau; a diammau mai eu trugaredd yw, gyftal a'u dyledfwŷdd: O blegid os derbynir y drugaredd, bŷdd ir ffrwythau defnuddjol hyn ei chanlyn.

( 1 ) Gwafanaetha hynny i'n cymmodi a holl Ewyllŷs D U W yn ei raglinjaeth.

(2) Dyfg hynny i ni ryfeddu rhad râs, a thuedda i'n gwneuthur a'n cadw yn ifel a diolchgar.

( 3 ) Bydd yr adnabyddiaeth o'n hetholedigaeth, megis rheffynnau cariad i rwymo 'r enaid credinjol i ymarferiad di-anwadal o Dduwioldeb. Ac *y mae pob un fydd ganddo y gobaith hyn ynddo* ef *yn ei buro ei hun, megis y mae ynte* [ fef DUW ] yn *bur*. 1 Jo. III. 3.

V Y rhaid arferyd moddion perthynol tuag at gyrhaeddyd yr wybodaeth hon. megis,

( 1) Rhaid i ni weddio am arweiniad a chynnorthwy YSBRYD DUW; gwaith yr hwn yw, fel yfbryd gras, dwyn eneidiau i gyflwr o râs: ac yna,

fel

fel yſbryd mabwyſiad, i *gŷd-dyſtiolaethu âu hyſbryd bwy eu bod yn blant i* DDUW. Rhy. VIII. 15,16.

( 2 )Rhaid i ni ddiwid ſyſyrio ar air DUW: dyma 'r moddion goreu i hyſpyſu i ni y ffordd y mae DUW yn achub pechaduriaid; neu ymha dreſn y y mae 'n dwyn ei Feibion i ogoniant: a pha rai yw nodau gwir ddinaſyddion Sion.

( 3 ) Rhaid i ni chwilio a holi ein calonau 'n hunein yn ofalus, a'u cynhwyſiadau; a pha beth yw tueddiad ein heneidau: tu â ph'le y mae gogwyddiad ein Serchiadau yn pwyſo; p'un ai at *bechod* a *gwagedd*; neu tu ag at DDUW, *JESU Griſt*, *'a Sancteiddrw'dd*? p'un a fodlona *enw i fod yn fyw* ni, a *ffyrt* o *Dduwjoldeb*? nei a ydim yn wîr ymofyngar ynghylch *bywyd a grym* crefydd, *archwaeth*, a *rhinwedd* traws ffirfiol gwirioneddau dwyfol ar ein calonau. Dyma 'r ffordd i adnabod ein galwedigaeth effeithiol: a hynny drachefn; a amlyga i ni ein bod wedi ein *dewis* g*an* DDUW *i Jechadwriaeth.* Eithr dalier ſylw, er na bo 'n galon etto yn ymgynhyrfu tu ag at DDUW fel hyn, nid oes i ni oddi yno i gaſglu, nad yw'r cyfryw wedi eu hethol i Jechydwriaeth: nag oes, ni chawn ddim ſicrwydd am hyn allan o'r gair. Ond y mae i mi a wnelwyf yn awr â'r rhai ſydd wedi ei galw yn effeithiol i gredu yng NGRIST JESU, y rhai ydynt yn profi y cynhyrfiadau hyn yn eu calonau, yn fwy neu lai: er hynny a allant fod dan *ambeuon* ac *ofnau* ynghylch eu cyflwr.

Dychon yr ofnau hyn dardd u, naill ai [ 1 ] Oddi wrth dymmer naturiol ſwrth, drymmaidd. Mae tymmer chwerw-driſt fynycha yn duedd-

dueddol i amheuon ac ofnau. neu

[ 2 ] Gallant fod yn ffrwyth esgeulusdra: yr hyn a ddychon fod un achos o'r gorchymmyn angenrheidiol hwnnw, *Byddwch ddiwyd i wneuthur eich galwedigaeth a'ch etholedigaeth yn sicr.* Mae llawer yn dywedyd, fod eu tywyllwch yn ofyd mawr iddynt; er hynny, nîd ydynt ddim yn ymdrechu yn ddiwyd am gyssur: er, yr wyf yn cyfaddef nad yw cyssur ysbrŷdol ddim yn ymorphwys yn hollol a'r ein diwydrwydd ni. Etto, nid yw y cyssur hwn yn cael ei dderbyn, ond yn an-fynych jawn, heb ddiwydrwydd, os yw un amser.

( 3 ) Dychon *amheuon* ac *ofnau* y ffyddloniaid darddu oddi a'r eu hanwybodaeth. canys y mae rhai yn barod i feddwl, lle mae *grâs* yn y galon wedi eu weithredu yn wirioneddol. na ddylent gael yno fawr ond gràs. Eithr, dylai y cyfryw ystyried, fod tri chyflwr yn berthynol i ddynion. sef,

( 1 ) Cyflwr *natur*. Prŷd hynny, mae pechod yn Teyrnasu heb fawr jawn o rwystr. Mae 'r *crŷf arfog* yn *cadw ei neuadd mewn heddwch*, Luc. xi. 21.

( 2 ) Cyflwr *gogoniant*. Yno bydd grâs yn teyrnasu heb ddim gwrthwynebiad. ond,

( 3 ) Y cyflwr o *râs*, yr hwn yw cyflwr presennol y ffyddloniaid. Pryd hynny y mae grâs yn llywodraethu yn y galon a'r ymarweddiad; eithr, gan fod gras yn wan, a llygredigaeth yn gryf, y *mae 'r cnawd yn chwennychu yn erbyn yr ysbryd yn gystal â'r ysbryd yn erbyn y cnawd.* Gal. v. 7. Ac felly y parhâ y cnawd i wneuthur, hyd oni bo i ràs weithio pob llygredigaeth allan o'r Enaid,

yr hyn a wnâ yn sicr; canys y mae *Grâs* yn gyffelyb i *Mordecai*, a *phechod* yn gyffelyb i *Haman*: mae grâs o'r hâd Brenhinol: gan hynny, pa mor grŷf bennag y mae pechod yn awr rhaid iddo syrthio o flâen grâs. Mae grâs fel tŷ DDAFYDD, a llygredigaeth fel tŷ SAUL; er y gallant dros amser ymryson yn gyndyn, etto tŷ DDAFYDD a â gryfach gryfach, a thŷ SAUL wannach wannach. 2 Sam. III. 1. Mae rhai, trwy eu hanwybodaeth, yn barod i ofni, *nad oes ganddynt ddim gwîr ffŷdd, o herwydd eu bod yn profi cymaint o anguredigiaeth* yn *aros*, *ac* yn *gweithio* ynddynt. Ond rhaid i'r cyfryw gofio nad yw holl blant Duw o'r un mantioli. Mae rhai fel *Abraham* yn *Gadarn* yn *y ffŷdd*. Rhuf. IV 19. 20. Neu, fel y wraig honno, wrth ba un y dywedodd ein HARGLWYDD, *Ha wraig*, *mawr* yw dy *ffŷdd*? Mat. XV. 28. Mae eraill, fel gwîr ddysgiblion CRIST, *o ychydig ffŷdd*. Mat. VIII. 26. I ba rai gellyd gofŷn y Cwestiwn hwnnw a ofynnodd CRIST iw ddysgyblion, *pa le y mae eich ffŷdd chwi*. Luc VIII. 25. Efe a wyddai fod ganddynt ffydd yn eu calonau, ond nid ar waith. mae eraill yn ofni, *nad oes ganddynt ddim gwir gariad at JESU GRIST*, *o herwydd nad ydynt yn ymhyfrydy digon ynddo*. Os hyn yw dy ofyd, yn wîr, yr wyt yn caru CRIST, er nad wyt yn ei garu fel y mynnit: gelli fod yn sicr, y bydd i'th gariad gael ei berffeiddio, er nad yw etto ond egwan, am nad yw dy ffŷdd ond llesg. Mae eraill yn ammeu, *gwirionedd eu hediteirwch*; o blegid eu bod yn tybied, *nad yw tristwch am bechod ddim wedi myned yn ddigon dwfn*. Os nid aeth mor

ddwfn

ddwfn yn dy Enaid ag yr aeth yn Enaidiau rhai; fe allai mai dy drugaredd di yw hynny, ar rai cyfrifon: ond, a aeth y tristwch yn ddwfn ddigon i wneuthur pechod yn chwerw i ti; ac i'th ddwyn, fel Enaid tlawd, euog, aflan, a cholledig at JESU GRIST am iechydwriaeth hollol; ac i'th wneuthur i wilio a Milwrio yn erbyn pechod? Os felly, nid yw dy ddymuniad am ychwaneg o dristwch ond temtasiwn.

Nid yw gofid am bechod ddim yn dyfod oll ar unwaith; ac nid oddi wrth edrych ar bechod yn unig y mae 'n tarddu; ond oddi wrth edrych trwy ffydd ar JESU GRIST wedi Groeshoelio. *A hwy a edrychant arnafi, yr hwn a wanasant; galarant hefyd &c.* Zech. XII. 10. Mae tristwch dwfn am bechod yn tarddu hefyd, oddi ar ystyriaeth *o Drugaredd DUW yng NGHRIST, a'i gariad*, wedi ei estyn allan i'r fath Enaid pechadurus: gan hynny, fel y mae ffydd yn cynhyddu, felly y mae tristwch am bechod yn cynhyddu. Mae eraill yn ammeu, p'un au bod yn *ostynedig* ac yn *ddiragrith*, am eu bod yn *profi rhai cynhyrfiadau o falchder a rhagrith yn eu calonnau.*

Trugaredd yw, fod dy galon mor ffyddlon a dal sylw ar eu cynhyrfiadau, a'u casau, Arwydd yw, o sancteiddrwydd dy galon, gan ei bod yn gofidio ar y cyfri hynny: *ni all oddef yr hyn sydd ddrwg.* Dad. II. 2. Tystiolaeth ddiamheuol o sancteiddrwydd yw hyn.

Llawer o gristnogion gweinon sy 'n ammeu, p'un au bod yn debig byth i fyned yn ddiogel i'r Nefoedd, o achos eu bod yn *profi ynddynt eu hynain, mor fach o gymhwysder i'r lle, neu i'r gwaith*

*a'r mwynhâd fydd yn y llê*. I'r hyn y gallaf atteb, megis nad yw Plentyn bâch yn ŵr ar unwaith, felly, nid yw 'r creadur newydd yn berffaith a'r unwaith.

Mae yn nheulu DUW *Blant bychain, a rhai bâch yng NGHRIST*. 1 Jo. ii. 12. 1 Cor. iii. 1. A chan eu bod yn blant i DDUW, y mae iddynt hawl i holl ran y plant. Plant y'nt mewn gwybodaeth; etto y maent yn adnabod y Tad, Plant ydynt mewn grâs; etto y mae eu pechodau wedi eu maddeu. A chan eu bod yn blant, y maent yn Etifeddion gogoniant.

Ni orphennodd creawdwr mawr y bŷd ddim o'i waith oll mewn un Dydd: felly, nid yw efe, sef *DUW grâs*, yn dwyn Enaid ar unwaith i fod yn *ŵr perffaith* yng NGHRIST. Er ei fod yn *gweithiur ein holl weithredoedd ynom a throstim*, Esa. xxvi. 12. Etto y mae 'n gadael llê i ni weddio, a disgwyl, am raddau pellach o râs a nerth yn ffordd ei ordinhadau.

Os rhai o'r pethau y soniwyd am danynt ydynt dy *ofnau* a'th *ambeuon*, yna gosod i fynu y cyfryw erfyniau a'r rhai'n yn dy weddiau: *ARGLWYDD, chwanega fy ffydd: ARGLWYDD, yr wyf yn credu, cymorth fy Anghrediniaeth.*

Ac fel y gall dy ofnau darddu oddi ar dy anwybodaeth, bydded hynny yn ddefnydd dy weddi. *Heb law a welaf, dysc di fi.* Job. xxxiv. 32.

A phan fyddost yn ofni y deui yn fyr o'r Nê, o achos fod ynot mor lleied o gymhwysder iddi, meddwl pa fodd yr attebit blentyn a fyddai yn digalonni ei hunan, gan ddywedyd O! mae arnaf ofn na byddaf byth yn ŵr, o achos fod ynof mor lleied

lleied o feder a nerth tu ag at waith gŵr.

Enaid tlawd goſtyngedig! Pwy a'th *gymhwyſodd* di i un rhan o'th waith preſennol; trwy roddi i ti adnabyddiaeth o rai ymarferiadau crefyddol, a chalon yn tueddu tu ag attynt? yr un Duw graſlawn ac a *drefnodd deyrnas iw braidd bychan*, a'u gwna yn gymmwys iddi. *gan ddiolch i'r Tâd, yr hwn a'n gwnaeth yn* gymmwys. Col. I. 12.

*Cymhwyſder* i'r Nefoedd yw grâs, er ei fod yn wan, ac nyni fyddwn yn *fwy cymmwys* pan berffeiddir grâs.

Mae rhai yn ofni y deuant yn fyr o'r Nefoedd, am y dywedir, mai *braidd y mae 'r cyfiawn yn gadwedig*. I Pet. IV. 18.

I hyn yr attebaf; Yr wyf yn cyfaddef, fod jechydwriaeth Enaid yn waith caled jawn: os yſtyriwn ei natur; neu y Deiliaid o hono; mor llawn o bechod ydynt: neu elynion y gwaith yma mor aml a nerthol ydynt; a'r lliaws o brofedigaethau ſydd ar y ffordd: Mae 'r holl bethau hyn yn gwneuthur jechydwriaeth Enaidiau yn anhawdd jawn.

Ond pan feddyliom am y pethau hyn, dylem hefyd feddwl *gwaith pwy* ydyw; a pheth yw cymmwyſiadau 'r jachawdwr: pa mor *ddoeth* a *medrus* yw; pa mor *nerthol*, mor *ffyddlon*, mor llawn o *haeddiant*, *Trugaredd*, a *grâs*; ac mai efe yw Jesu, *yr un ddoe, heddyw, ac yn dragywydd*; a'i fod *yn byw bob amſer* yn y Nefoedd, *i eiriol dros y rhai ſy 'n dyfod at DDUW trwyddo ef*. Heb. VIII. 25. Felly, er bod jechydwriaeth yn waith caled ynddo ei hun, ac er ei fod yn amhoſſibl i ni

fod yn jachawdwyr i ni ein hunain: etto, pob peth sy 'n hawdd gyd â DUW. Mae mor hawdd i JESU GRIST achub, trwy aml a mawr anhawsdra, ag yw iddo achub trwy ychydig rw'strau, a rhai bychain. Gwaith CRIST yw Jechydwriaeth, a pha amlaf a mwyaf yw y rhw'strau. mwyaf y fydd y gogoniant a ddychwel iddo e', am orphen ei waith yn awdurdodol, er maint y gwrthwynebiad; ac yn rasllawn, er maint anheilyngdod y deiliaid. gan hynny, efe a dderbyn y clôd am y gallu, gystal ac am y grâs. pan orphenno ei waith achubol. *Ac mi a edrychais ac a glywais lais Angylion lawer ynghylch yr orseddfaingc, a'r anifeiliaid a'r henurjaid, a'u rhifedi hwynt oedd fyrddiynau o fyrddiynau, a miloedd o filoedd, yn dywedyd â llef uchel, teilwng yw 'r Oen yr hwn a laddwyd. i dderbyn gallu, a chyfoeth, a doethineb, a chadernid, ac anrhydedd, a gogoniant, a bendith.* Dad. V. 11 12.

Ond yn fyr, wedi dywedyd y cyfan o'r natur yma, yr wyf i yn gwirio, nad yw 'r Apostol oddi ma yn sôn am *Jechydwriaeth Enaid* yn 1 Pet. iv. 18. ond am *waredigaeth amserol*, oddi wrth *drallod amserol*, sef, gwaredigaeth y ffyddloniaid oddi wrth *y gorthrymder cyffredinol* a ddigwyddodd i'r genedl *Juwddewig*, trwy waith y *Rhyfeiniaid* yn difrodi eu Dinas *Jerusalem* &c dan arweinjad *Titus Fesbasian*, ynghylch deigain mlynedd ar ol CRIST. Gwelodd DUW yn dda achub rhai, trwy eu tueddu i wrando ar lais a anfonwyd o'r Nef, sef Ewch i Pela. Y rhai ni wrandawsant arno syrthiasent yn y hintyd cyffredin. Mae geiriau cylchynol yn ei wneuthur yn dra eglur, mai hyn yw gwir ystyr y testyn; o blegid, (1)

[1] Dywedir, Adn. 12. mai diben Duw yn dwyn ei bobl dan y farn fawr honno, ydoedd, iw *profi*, nid iw *difetha*.

[2] Gorchymynnir iddynt, beidio a meddwl fod rhyw *beth dieithr* wedi digwydd iddynt. Rhyw beth ydoedd, ac yr oedd eraill o blant DUW wedi myned trwyddo o'u blaen hwy: ac felly y mae 'n gyffelib agos i'r testyn hwnnw, 1 Cor x. 13. *Nid ymaflodd ynoch demtasiwn ond un ddynol &c*

[3] Dywedir mae *Dioddefiadau CRIST* ydynt, Adn. 13. sef rhyw beth ag oeddynt hwy iw ddioddef er mwyn *CRIST, a'i efengyl*

[4] Gorchymynir iddynt *lawenhau* ynddynt, Adn. 13. am eu bod yn cael eu hanrhydeddu gymmaint a dioddef dros achos CRIST.

[5] Hyspysyr natur y dioddefaint hyn, yn un gangen o hono Adn. 14. *Os difenwir chwi er mwyn Enw CRIST.*

[6] Dangosir iddynt pa fodd i ymddwyn dan y profiad, Adn. 19. sef *yn wrol*, fel y gweddai i grisnogion, yn dioddef mewn achos da. *Os fel cristion na fydded gwilydd ganddo, ond gogonedded DDUW, yn hyn o ran.*

[7] Gorchymynir i'r Duwiol yn eu cystuddjau, au dioddefiadau *orchymyn eu Heneidjau i DDUW megis i greawdwr* (neu geidwad) *ffyddlon*. Ni addawodd DUW ddim gadw ei anwyl blant rhag y *profiad tanllyd* o flinderau allanol; ond efe addawodd iddynt bethau gwell.

(1) Y byddai efe *gyd â hwy* yn eu blinderau *Nag ofna: pan elych trwy'r dyfroedd, mifi a fyddaf gyd â thi &c Esay* xliii. 1. 2.

 (2) Add

(2) Addawodd DUW wneuthur daioni iw bobl trwy eu blinderau. *Yn ddiau gwnaf i ti ddaioni* Darfu i'r feintiau brofi hyn. *Ni a wyddom fod pob peth yn cyd weithio er daioni i'r rhai sy 'n caru Duw sef i'r rhai sy wedi ei galw yn ôl ei arfaeth ef. Rhuf.* VIII. 28.

(8) Ni chwanegaf ond yr un ystyriaeth yma at yr atteb a roddwyd eisoes, i'r sail ddychymmygol ddiweddaf o ofn, sef *rhag i'r enaid ddyfod yn fyr o'r Nef*, am y dywedir, mai *braidd y bydd y cyfiawn gadwedig*. Ac yr wyf yn meddwl ei fod yn ddigonol i sefyll o hono ei hun, hyn ydyw.

Bydd ni yn ddianrhydedd i'n HARGLWYDD JESU GRIST, yr Jachawdwr, i ddywedyd, mai *braidd* y cedwir eneidiau y rhai cyfiawn rhag uffern. O ba le mae anhawsdra Jechadwriaeth eu Heneidiau yn tarddu? A ydyw doethineb neu allu CRIST yn pallu? Neu, a ydyw eu haeddiant yn rhy fyr? Neu, a ydyw ffynon ei ras yn debig i fychu? Nag ydynt, *Efe ddychon yngwbl jachau y rhai trwyddo ef sydd yn dyfod at DDUW*. Heb VII. 25. Bydded eu gelynjon mor gedyrn, mor liuosog, gwiliadwrus, a chyfrwys ac y bont; neu, pa mor *wanned* benna ac mor *anheilwng* y byddo Deiliaid ei ras cadwedigol; etto fe ddychon, ac fe fyn CRIST ei hachub yn ogoneddus. Mae rhai yn ofni y deuant yn fyr o'r nefoedd, o herwydd *fod eu pechodau, nid yn unig yn aml, ond bod y fath amgylchiadau trymjon yn perthyn iddynt, fel y maent yn ofni iddynt bechu y pechod yn erbyn yr YSBRYD GLAN*, yr hwn ni faddeuir byth. Mat XII. 31. 32. canys y maent yn tybied iddynt *bechu o'i gwir fodd a'r ôl derbyn gwybodaeth y gwirjonedd*

*joneddr* ac y maent yn darllen yn Heb. x. 26 *Nad oes aberth dros bechod wedi e'i adel mwyach. eithr rhyw ddisgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd Tan, yr hwn a ddifa y gwrthwynebwyr.* I hyn, rhaid i ni atteb, Nad y pechod yn erbyn yr YSBRYD GLAN yw pob pechod mawr, na phob pechod mawr a wneler yn erbyn goleuni; ac nad pob pechod yn erbyn YSBRYD DUW yw 'r pechod anfaddeuol. Ond y pechod anfaddeuol, neu y pechod yn erbyn yr YSBRYD GLAN, yw pechod, trwy ba un y mae proffeswr y grefydd grist'nogol yn gadael ymaith GRIST, a'i unig aberth. Hwnnw yw 'r *pechod gwirfodd* A phan y mae Dynjon yn gadael yr unig Aberth JESU GRIST, nid oes un aberth arall a ddychon gymmeryd ymaith bechod. Nid meddwl y lle yw, Os bydd proffeswr yn euog o bechod rhyfygus ar ol derbyn gwybodaeth y gwirjonedd, yna nid oes dim lle iw aberth, sef gweddi, &c. Ond y meddwl yw, os gadewir aberth CRIST, nad oes un aberth arall wedi ei drefnu gan DDUW i gymmeryd ymmaith bechod

Y Pechod yn erbyn yr YSBRYD GLAN yw hyn, *Proffeswr rhagrithiol yn taflu ymaith yn gensigennus ei ufydd-dod proffesedig i JESU GRIST; a'i ffydd yn ei athrawjaethau ef: a dirmygu unig fford DUW o jechydwriaeth pechaduriaid, trwy waed a haeddiant CRIST: a dywedyd a gwneuthur yn faleisus yn erbyn JESU GRIST a i YSBRYD sanctaidd.* Heb x. 28 29. Pan fum i yn gael fy meddiannu gan y cyfryw ofnau, mi fodlonwn fy hûn fel hyn.

(1) Mae fy nghŷdwybod yn tistiolaethu i mi,

fy

fy mod yn ddi-ragrith gyd a DUW. Bu hyn, ac y mae etto, yn gymmorth mawr i mi; am nad oes neb ond rhagrithwŷr yn euog o'r pechod hwn.

(2) Yr wyf o'm calon yn bodloni i ffordd Duw o iechydwriaeth trwy ffŷdd ynghyfiawnder Crist, a gyrfa ddîanwadal o ufydd-dod a Sancteiddrwydd. Nid wyf yn gadael JESU CRIST, ac ni's gallaf ei adael, eithr yr wyf yn dymuno gorphwys arno ef am iechydwriaeth.

(3) Ni allaf ddim lefaru yn ddiystyredig a dyrmygedig am JESU GRIST, nac am un o'i athrawiaethau, a'i ordinhadau; ac ni allaf oddef clywed eraill yn gwneud felly. Ni fynnwn letua un meddwl gwael neu anheilwng am JESU GRIST, neu am YSBRYD DUW, neu un o'i weithredoedd na'i ffyrdd.

(4) Mae 'n dda gennyf pan allwyf wneuthur un peth er gosod allan fawredd, a daioni JESU GRIST neu wneuthur un peth er tannu ei Enw, a dêrchafu ei deyrnas, neu osod Eneidiau ar ymofyniad ar ei ôl.

Yr wyf yn casglu hefyd na fydd i mi byth bechu y pechod hwnnw; am fy môd wedi fy ngeni o DDUW, a bod gennyf hâd ei neullduol râs ef yn fy nghalon. 1 Jo. iii. 9. *Pob un a aned o DDUW, nid yw yn gwneuthur pechod, o blegid mae ei had ef yn aros ynddo ef, ac ni all efe bechu, am ei Eni ef o Dduw.* Nid yw yn pechu, ac ni's gall bechu, fel yr ydoedd yn arfer, a gwneuthur crefft o bechod, a throseddu gyd â hyfrydwch. Ond yn enwedig ni all bechu i farwolaeth. Nid ymrwymodd Duw, yn un llê yn ei air, i gadw ei

bobl

bobl rhag pechod: eithr efe a'n ceidw rhag y fath bechod ac a'n cauo allan o'r Nefoedd. *A'r ARGLWYDD, a'm gwared i rhag pob gweithred ddrwg, ac am ceidw iw deyrnas Nefol.* 2 Tim. IV. 18.

Diben y Dalennau canlynol yw diwigio y cyfryw gamfynniadau ac y nodwyd eifioes: a gofod y credadyn cywyr galon a'r y llwybr pa fodd i feddwl yn j wn am ei gyflwr, ei ffordd, ei waith a'i ddiben; a thrwy hynny rhag-flaenu llawer o ofnau ac amheuon byr-bwyll, ac fy 'n blin aflonyddu meddyliau, ac yn gwanhâu calonnau, a dwylo plant DUW yn ffordd eu dyledfwydd; ac ehangu eu calonau, er clôd, gwafanaeth, ac ufydddod i DDUW. Gan nad yw y pethau cynnwyfedig yma ddim weni eu bwriadu i *ftymogau llawnion*, ond i *Eneidiau newynog*, mi ofalais fwy am *fylwedd* yr ymadrodd na'i *ddull*. Y ffordd ac a ddychon gyfarwyddo 'r Eneidiau amheus, pa lê i gael atteb wedi ei gymhwyfo yn union at eu gofyniad, yn y modd rhwyddaf, a mwya eglur, yw 'r ffordd a ettyb oreu i'n bwriad prefennol ni.

Tra fûm yn gofalu am roddi Bara ir plant, cymmerais ofal hefyd i falurio 'n chwilfriw y ddau elyn fawr hynny i Eneidjau, a'r Grefŷdd grif'nogol fef, *Diogi yfbrydol, a Hyder cnawdol.*

Darfu i rai ofnau yn y ffordd hŷn attal fy Llaw dros amfer rhag gofod allan y pethau hyn o flaen eraill, y rhai nid amcenais ar y cyntaf ond er fy mûdd fy hûn.

Eithr ni allwn, na gweuthur, na d'wedyd dim, na bo calon dwŷllodrus, fel y prŷf coppyn, a'i natur ffiaidd, yn barod i droi, a chyfnewid y cyfan i wenwyn

nwyn. Os byddwn ofalus i roi eu Bara i'r Plant, y mae 'r cŵn yn barod i redeg ymaith ag ef. Ni 'r gwŷddom â pha eirjau i osod allan drueni pechadurjaid anychweledig, na byddo disgyblion gostyngedig CRIST 'n barod i gymerŷd y cyfan adref attynt eu hunain. Ac ni wŷddom pa fodd i letaru er cysur i gywŷr Griſtjon, na bo gwâg broffeswŷr yn cippio 'r cwbl, fel eu heiddynt hwŷ.

Ond, os bydd i neb fodloni eu hunain â'r pethau hyn, y rhai nid adwaenant gyfnewidjad calon ac ymarweddjad, ac nid ydŷnt yn ofalus am Sanctei-ddrwydd, bydded dan eu perigl iddynt *adeiladu Tŷ ar y tywod.* Mat. vii. 26. Fel nad yw 'r cyfryw gau obaith yn gwella eu cyflwr 'nawr, felly hi a'u gedu yn y diwedd wedi eu siomi a'u gwradwŷddo yn ofydus.

Mae ûn peth yn chwaneg a fynnwn ei hyspysu i'r Darllenydd, hynny yw, Fel y dychon rhai o'r tystjolaethau yma ddyfod ymhlith eu gilidd ac y gellir sôn am rai pethau fwŷ nag ûn-waith, neu ddwy dan wahanol bennau: y diben yn hynny oedd hyn, Fe ddychon un peth neullduol wasanaethu i egluro dau neu dri o bethau, cystal ag un, fel y mae 'n amlwg yn yr ysgrythur ymberthynas i *ffydd*, a *chariad*, &c. Canys y mae ffydd yn Dystiolaeth,

( 1 ) O'n hordeinjad i fywyd tragwyddol. *A chynnifer ag oedd wedi ei hordeinjo i fywyd tragwyddol a gredasant.* Act. xiii. 48.

( 2 ) O'n Cyfiawnhâd, neu faddeuant o'n pechodau *A thrwy hwn y cyfiawnheir pob un sydd yn credu.* Act. xiii. 39.

( 3 ) O'n mabwysiad. *Cynnifer ag a'i derbyniasant ef,*

*ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i* DDUW *fef, i'r sawl a gredant yn ei Enw ef.* Jo. i. 12. *Chwi oll ydych blant i* DDUW, *trwy ffydd yng NGRIST JESU* Gal. iii. 26.

(4) O'r Nefoedd. *Y neb a gredo, ac a* fedyddier *a fydd cadwedig.* Mar xvi 16

Felly, meddaf, minneu a gymerais y rhydd-did hwn, fef y byddai i'r peth neillduol, ac y fo dan ystyriaeth presennol, orwedd yn fwy amlwg o flân y Darllenydd, heb ei anfon i leoedd eraill o'r llyfr i ymofyn am eglurhâd, neu brofiad; yr hyn a fyddai yn ormod o rwystr i'r darlleniad: yn enwedig i'r rhai nid ydynt yn dra chyfarwydd i droi at y dalennau a'r pennau, ac allai fod yn angenrheidiol gyfrwyddo attynt. Mi brofais yn fynych fod rhyw beth o'r natur yma yn ddefnyddiol i grif'nogion gwirioneddol, er eu bod yn amheus. Ac mi profais o ddefnydd da i'm Henaid fy hûn. Oes byddant felly i'th Enaid di, rho 'r gogoniant i DDUW; ac y mae 'r hwn fydd yn ewyllysio 'n dda i'th enaid di, ac yn dymuno bod yn *gynnorthwywr i'th lawenydd* yn cael ei amcan Goreu 2Cor. i. 24.

*Y TYSTIOLAETHAU.*

Pan y b'o credadyn gwirjoneddol yn gofod y gofynniad pwysig hwn atto ei hun; *A gâf fyned i'r Nefoedd, ai ni's câf?* Nid oes ond ambell un ag all roddi atteb digonol iddo ei hun. Hwy wyddant yn ddâ fod eu diben yn unjon: ond, gan fod eu *grâs* mor fach, eu *llygredigaeth* mor fawr, eu *gelynion* mor aml, eu *nerth* mor lleied; eu *gwaith* mor fawr ac mor galed, a'i gallu gogyfer ag ei mor fychan,

er eu bod a'u calon yn bwriadu cadw ffyrdd Duw, etto y maent yn y tywyll yn fawr pa fodd y *diwedda* pethau gyd â hwy. Hwy, wyddant mae *yr hwn a barhâo hyd y diwedd a fydd cadwedig*. eithr y maent yn ofni rhag iw calonnau *twyllodrus* ymado oddi wrth DDUW. Mae 'r ofn hwn yn cael y llaw drecha, am eu bod yn anghofio natur *cyfammod newydd* DUW; neu yn rhy anadnabyddus o hono: trwy ba un y ficrheir yn dragwyddol, ac yr effeithiol berthynas y credadyn i DDUW, a'i hawl yn ei drugareddau cyfammodol ef. *Mi wnâf á hwynt gyfammod tragwyddol, na thröaf oddi wrthynt, heb wneuthur llês iddynt, a mi a osod af fy ofn yn ei calonau fel na chiliant oddi wrthyf.* Jer. xxxii. 40. Y ffordd oreu i ddwyn crifnogion ffyddlawn i orfoleddu dan obaith gogoniant Duw yw dangos iddynt.

I. Fod grâs cadwedigol wedi ei weithredu yn ei calonnau: eu bod wedi derbyn *blaen ffrwyth yr YSBRYD*: fod Yfbryd y grâs wedi gweithio ynthynt *y pethau ac fydd ynglyn wrth Jechadwriaeth* y cyfryw bethau ac fydd yn ddechruad bywyd trag'wyddol.

II. Mai llê mae Duw wedi dechreu gwaith da, yno y bydd iddo *ei ddwyn yn y blaen hyd ddydd JESU GRIST*; canys *di edifarus yw ei ddoniau a'i alwedigaeth*: y bydd i'r ARGLWYDD gyflawnu yr hyn a berthyn i jechydwriaeth ei bobl. Pan y byddo Duw wedi dyweddio un Enaid iddo ei hun, *câs ganddo ollwng ymaith*. Phil. i. 6. Rhuf xi. 29. Pf. cxxxviii. 8.

Fel

fel hyn yr wyf fi yn profi im fy hun, y caf fyned i'r Nefoedd: *Y rhai a dderbyniasant y pethau sy ynglŷn wrth jechydwrjaeth a gânt fyned i'r Nefoedd: ond myfi a dderbyniais y pethau sydd ynglyn wrth jechydwrjaeth; am hynny, mi gâf fyned i'r Nefoedd.*

Profir trwy air DUW; y caiff y rhai hynny fyned i'r Nefoedd, ac sydd wedi derbyn y pethau sydd ynglŷn wrth jechydwrjaeth. *Yr Arglwydd a gyflawna â mi. Gan fod yn hyderus yn hyn &c.*

Yr hyder yma o eiddo y crediniol gwirjoneddol, sy wedi ei Seilio ar *Anghyfnewidioldeb* DUW a chadernid dianwadal ei gyfammod, yr hwn sydd *wedi ei luniaethu yn hollol, ac yn sicr.* 2 Sam. xxiii. 5. Ymha un y mae jechydwrjaeth y credadyn ffyddlon wedi ei sicrhau, hyd yn oed ar y cyfryw amserau, ag na bo hi ddim yn wŷch gyda *Thymmer* ei galon mwy nâ chyd â ei *Lŷ*.

Fy môd i wedi derbyn y pethau sydd ynglŷn wrth jechydwriaeth, yr wyf yn bodloni fy hûn fel hyn.

( 1 ) Yr wyf wedi cael fy mygu yn effeithiol, ac yn gadwedigol gan DDUW.
( 2 ) Fe'm dygwyd o farwolaeth i fywyd ysbrydol.
( 3 ) Yr wyf yn credu yn yr ARGLWYDD JESU GRIST.
( 4 ) Yr wyf wedi nghyfiawnhau, am pechodau wedi eu maddau.
( 5 ) Yr wyf, yn rhyw fessur, wedi fy nghwir Sancteiddio.
( 6 ) Y mae i mi berthynas gyfammodol â DUW.
( 7 ) Yr wyf yn blentyn mabwysiadol i Dduw.

(8) Yr wyf yn caru DUW, a JESU GRIST, yn ddi-ragrith.

Y rhai'n yw fy rhesymmau am fy ngobaith o'r Nefoedd. Ar pethau neullduol hyn a leinw fynu y dalennau canlynol.

I. Y Dystiolaeth *gyntaf* am y Nefoedd yw, *Fy mod wedi cael fy nysgu yn effeithiol, ac yn gadwedigol, gan DDUW.* Ac yr wyf yn casglu fod fy ngwybodaeth yn gadwedigol.

(1) Am *ei bod yn fy ngwneuthur yn issel, ac yn ostyngedig yn fy meddyliau fy hun.* Ni allaf mwyach gyhoeddi daioni fy nghalon; canys, yr wyf yn gweled mwy na mwy, o'r drwg sydd yn trigo ynddi. O herwydd hyn, yr wyf yn cyfri fy hun yn *llai na'r lleiaf o'r holl saint*: canys yr wyf yn barod i dybied, nad oes yn un galon gymmaint o ddrwg ag sydd yn fy nghalon i. Etto, yr wyf yn hyderu nad yw fy nghalon yn *annuwiol.* Ps. xviii. 21. O blegid, er fod pechod ynddi; etto, nid yw yn ymfodloni, ac yn ymhyfrydu mewn pechod. Yn hyn, mi allaf appelio at DDUW; chwiliwr y calonnau, a dywedyd, *Ti wyddost nad wyf annuwiol*, fel *Job.* Pen. x 7.

Nid wyf ddim ynof fy hun, nid oes gennyf ddim ac sy dda, ond yr hyn a *fenthyccíwyf* oddiwrth arall, sef, oddi wrth yr ARGLWYDD JESU GRIST; oddi wrth yr hwn yr wyf yn disgwyl am bob *doethineb gras gallu a Sancteiddrwydd.* Yr wyf, o'm calon yn bodloni i wirioneddau DUW; ac yn eu cofleidio, fel dartu iddo ef eu dadgyddio, ymherthynas iw defnydd a'u dull. Yr wyf yn hoffi 'r athrawiaethau hynny ac sy 'n dwyn gyd â hwynt achos cyfiawn o *ymddarostyngiad i ddynion*

*ssion beilchion*: y cyfryw ac sy'n dangos i mi fy natur lygredig; fy euogrwydd, a'm halogrwydd; fy analluogrwydd hefyd i gynorthwyo, ac achub fy hun: yr athrawjaethau ac sy 'n dangos i mi fy angen o JESU GRIST, a'i gyfi wnder ef, er *maddeuant*, *tangnefydd*, *Sancteiddrwydd*, a'm *bywyd*. Yr wyf yn cyfaddef fy mod yn cael fy *nghefeilwg* a'm *clybod*; fy *mywyd*. a'm *dillad*; fy *ymborth*, a'm *cyfoeth*, oddi wrtho ef, a'r cwbl yn *rhâd*

Yr wyf yn disgwyl yn ostyngedig wrth DDUW, yn ei ordinhadau, a thrwyddynt hwy, yr wyf yn edrych am bob cyfl wnder o râs oddi wrth DDUW ei hun. A phan dderbyniwyf ryw beth oddi wrtho ef, trwy ei ordinhadau, yr wyf yn gofalu am roi 'r *gogoniant* ôll iddo ef: canys yr wyf yn cyfaddef, mae o'i law raslawn ef y mae 'r cyfan ac wyf yn swynhau. Nid wyf ddim yn tybied fod y tryssor o râs, ac wyf wedi ei dderbyn; neu fy nghasineb. at bechod; neu fy nghariad at sancteiddrwdd. neu fy ymröadau goreu. a'u gosod oll ynghyd, yn ddigonol i'm dwyn allan i ymarferiad dianwadal o dduwjoldeb, heb gymmorth neillduol YSBRYD DUW: ac etto, yr wyf yn gobeithio na bydd i'm gwendid ddim fy nigalonni oddi wrth fy ngwaith, i fynd at DDUW yng NGHRIST, i weithio fy holl waith ynof, a throswyf, trwy ei YSBRYD. Felly, profais mai, *pan wyf wan*, *yna 'r wyf gadarn*. 2. Cor. XII. 10. JESU GRIST sy 'n gweithio fy holl waith ynofi a throsof.

Yr wyf yn ymdrechu i ddwyn fy holl galon i ymlonyddu yn nrhefnhâd ei rhagluniaeth tuag attaf: pan b'o DUW yn ceryddu, yr wyf yn gweddio am ymddarostyngiad i *Dâd yr ysbrydoedd*

Heb. xii. 9. Yr wyf yn ymorchestu i gadw lawr bob meddwl drwg, am un peth a wnelo DUW: a phan byddynt yn codi yn fy nghalon y maent yn ofyd i mi: ni fynnwn i un amser lettya dim meddyliau anheilwng am DDUW pan fyddwy dan gystuddiau, y mae ef yn gwneuthur *pob peth yn dda.* Pan y b'o DUW yn gwênu arnaf, yr wyf yn cofio fy anheilungdod fy hun; fy myrdra yn ei wasanaeth a gweddill fy llygredigaeth. Yr wyf yn cyfaddef rhad gymmwynasgarwch DUW i mi, yn fy nwyn o Dywyllwch, i Oleuni; canys fe'm ganwyd yn ddall' bum gynt yn noeth; ac yn anwybodus ohonof fy hun, o DDUW, o JESU GRIST' ac o bethau ysbrydol: eithur yn awr gan fy mod wedi fy ngwneuthur yn *oleuni yn yr* ARGLWYDD yr wyf yn ceisio *rhodio* yn mhob peth, fel un o *blant y goleuni.*

(32) Yr wyf yn casglu fod fy ngwybobaeth yn gadwedigol, am, *i mi trwy fy ngwybodaeth, gael fy nerthu i gymeryd i fynu fy ngorphwysfa yn JESU GRIST am Iechydwriaeth gyfan-holiol.* oddi yma yr wyf yn casglu, mae yr unig fath o wybodaeth ac addawodd DUW iw bobl yn ei gyfammod newydd ydyw. *Dy holl feibion hefyd fyddant wedi eu dysgu gan yr ARGLWYDD;* Esay liv. 13. *Hwynt-hwy oll, o'r lleiaf o honynt hyd y mwyaf o honynt, o'm hadnabyddant, medd yr ARGLWYDD.* Jer. xxxi. 34. canys felly y'r eglurir ef, gan ein HARGLWYDD JESU GRIST. *Y mae'n scrifennedig yn y prophwydi, A phawb a fyddant wedi eu dysgu gan DDUW. Pob un gan hynny, a glywodd gan y Tâd, ac a ddysgodd, sydd yn dyfod attafi, hynny yw sydd yn credu ynof fi.* Jo.

vi. 45. Yr wyf yn profi fy enaid yn cael ei thynu
t JESU GRIST, nid wyf yn dymuno un gen-
hwysfa na noddfa arall i'm henaid. Yr wyf yn
odlon iddo ef, yma yr wyf yn bwrw angor fy
gobaith. Yr wyf yn cymmeryd JESU GRIST,
el y mae DUW yn ei gyflwyno, *yn ddoethineb*,
*n gyfiawnder, yn sancteiddrwydd, ac'n brynedigeth*.
Cor. i. 30. Ac yr wyf o'm calon yn ymddar-
stwng iddo ef, fel fy ARGLWYDD. yn gy-
al â gobeithio ynddo fel Jachawdwr hollol. Ni
lafi ddim berswadio fy hun, fod gennyf gymaint
mor eglyr gwybodaeth ym mhethau DUW,
y gallaf trwy hynny grogi allan *fein*, neu arw-
dd o grefydd, neu gâdw fynu broffes barchedig,
wy fy ngwybodaeth: ond fy ngofal yw, iddi fy
wain i fyw ar gyfiawnder CRIST o râs, fel y
erbyniwyf fwy o râs oddi wrtho ef, a mwy o debi-
olrwydd iddo ef, ac yr ymhyfrydwyf fwy yntho
, ac fel y b'o i râs reoli fy nghalon, a'm bywyd,
m hamser, a'm tafod, a'm meddyliau, a'r cwbl
osto ef.

3) Yr wyf yn casglu fod fy ngwybodaeth yn
dwedigol; o herwydd, mae *gofal fy enaid yw, i*
*yddhau i DDUW yn mhob peth, ac a hyfpyfo ef i*
*fel ei ewyllys*. Ac yr wyf yn fil faenu fy nghasgliad
1 Jo ii. 3 *wrth hyn y gwyddom yr adwaenom ef*
*cadwn ni ei orchymynion ef*. Mi wn, ac yr wyf
cyfaddef, nad wyf yn gwasanaethu DUW ond
wael; etto mae fy nghalon yn y gwasanaeth.
ae fy nghydwybod yn dywedyd wrthyf, fy mod
wirioneddol: nid wyf ddim yn dymuno esgeu-
so, neu ymesgufodi o un rhan o ewyllys dad-
ddiedig Duw. yr wyf yn ei hoffi oll. ac yn bod-

lonfi

loni i holl waith y cristion a nodir allan trwyddo.
Nid yw fy nghalon yn dywedyd, *Attolwg, cymmer*
*fi yn esgusodol* eithr y weddi hon o eiddo *Dafydd*
yw gwir ddymuniad fy enaid i, *Ti a orchymynaist*
*gadw dy orchymynion yn ddyfal*, *o, am gyfeirio fy*
*ffyrdd i gadw dy ddeddfau!* Ps. Cxix 4, 5 Pan
fyddwyf wedi ymbaratoi oreu, ac yn fwya tu ddo
i wasanaethu DUW, yr wyf yn fwya bodlon
fy hun Yr wyf wedi cyflwyno fy hun i DUW
a'i wasanaeth, ac yr wyf yn dymuno na b'o i
byth dynnu 'nol; ond ei wasanaethu ef ymhob
man, ymhob peth, a phob amser. canys, *tyngais*
*threwy rás, cyflawnaf, y cadwn farnedigaethau*
*gyfiawnder*. Ps. Cxix. 106 Fel y mae ...
parhaus â phechod gyd â bodlonrwydd a hyfr...
wch, yn tystio fod un yn wâs i bechod a Dia...
*o'ch tâd Diafol yr ydych chwi, a thrachwantau*
*eich tâd y fynnwch chwi ei gwneuthur*. Jo viii 44
felly rhaid i'm hymarferiad parhaus i â chre...
gyd â phrydd-der a hoffder, brofi fy môd i yn w...
i DDUW. *oni wyddoch chwi mâi i bwy bennag y*
*ydych yn rhoddi eich hunain yn weision i ufyddhau*
*iddo, eich bôd yn weision i'r hwn yr ydych yn uf...*
*ddhau iddo, pa un bennag ai i bechod i farw o...*
*ynte i ufydd-dod i gyfiawnder? ond i DDUW y bo*
*'r diolch, eich bôd chwi gynt yn weision i bechod eithr*
*ufyddhau o honoch o'r galon i'r ffurf o athrawiaeth*
*a draddodwyd i chwi*. Rhyf. vi. 16, 17. Yr wyf yn
caru fy meistr, ac yn cyfri ei achos ef fy achos fy
hun. Yr wyf yn caru ei waith, ac yn ei gyfri i
yn anrhydedd, ac yn rhidd-did. Yr wyf yn h...
cyfreithiau 'r ty, ac yn ymdrechu iw cadw yn ...
nol. Ac yr wyf yn fodlon jawn i'r gyflog y m...

ſio yn roddi iw weiſion, ïe, hyd yn oed yn yr amſer y maent yn gwneuthur ei waith yn ddiſ-agrith. *o g'dw ei orchmynion mae gwobr lawer* Pſ. xix 11. Yr wyf yn myfyrio i brofi ſy hun, ymhob peth, yn wâs ffyddlon i DDUW. Gan hynny, yr wyf yn caſglu, y câf drigo gyd â DUW yn y Nef, iw waſanaethu ef yno yn wêll nag y gallaf yma, *Yno ei weiſion a'i gwaſanaethant ef.* Dad. xvii 3. Yr wyf yn gwaſnaethu DUW yma mor waeled, fel prin y tâl ſy ngwaith yr enw o waſa-naeth, er ſy mod yn ei wneud yn wirioneddol, gan ei fod mor fyr, ac mor bechadurus: ond yno câf ei waſnaethu yn ddi bechod, *yn ddi wahan*, yn ddi flino, ac yn ddi ddiwedd. Ar y cyfan, yr wyf yn caſglu y câf ſywyd tragwyddol; canys *hyn yw 'r bywyd tragwyddol, yddynt dy adnabod di yr unig wir DDUW, a'r hwn â anfonaiſt ti JESU GRIST*. Jo. xvii. 3.

II. Yr *ail* Dyſtiolaeth am y Nefoedd yw *ſy mod wedi 'm dwyn o farwolaeth i ſywyd yſbrydol.* Od oes genyf yn awr *ſywyd yſbrydol*, mi gâf ſywyd tragywyddol. Yr wyf yn caſglu fod gennyf ſywyd yſbrydol.

(1) Am ſy mod wedi *ſy nghalw yn effeithiol* Nid wyf yn awr fel y bûm unwaith, yn ddi ofal am ſy Enaid, am' jechydwriaeth: canys dango-ſodd Duw i mi, trwy ei air a'i YSBRYD mor bechadurus wyf a'r trueni, a'r embeldrwydd yr wyf ynddo trwy bechod; ac fe 'm gwnaeth yn deimladwy o brîs ſy Enaid gwerthfawr, ac a'm dûg i fod yn ofalus am jechydwriaeth ſy Enaid uwchlaw pob peth. Fe'm gwnaeth yn *ewyllyſgar yn nydd ei nerth i fwrw* ſy enaid, a'r hyn oll a ber-thyn iddo ar *JESU GRIST*, ar y dyſtiolaeth

hono a roddes Duw iddo yn yr Efengyl. Ar hyn yr wyf yn casglu fod Jesu Grist genyf, ac felly bywyd; canys y neb y mae Mâb Duw ganddo mae ganddo fywyd, a'r neb sy'n credu yn y Mâb, mae 'r Mâb ganddo, a'r hwn sydd yn gorphwys arno am gyfiawnder, sancteiddrwydd, a iechydwriaeth, sydd yn credu yn Jesu Grist.

( 2 ) Yr wyf yn casglu fod gennyf fywyd ysbrydol; canys yr wyf wedi fy ngwaredu oddi wrth lywodraeth ac Arglwyddiaeth pechod. Yr wyf yn cyfaddef fod pechod yn trigo ynof, ac mai prin yr wyf yn gwneuthur dim heb bechod: fy ngofid yw ei fod yn trigo ynof; ond fy nghysur yw fod pechod wedi colli ei awdurdod llywodraethol arnaf: canys

[ 1. ] *Mae fy hoffder gynt mewn pechod, wedi ei gymmeryd ymaith.* Yr amser aeth heibio, yr oedd pechod yn cyfanneddu yn esmwyth ac yn llonydd iawn yn fy Enaid. Yr oedd y *cryf arfog* yn cadw *neuadd* fy nghalon mewn heddwch; ac yna 'r oeddwn yn gadael i bechod gael fy nwylo, *fy* llygaid, *fy* nhafod, *fy* nhraed, *fy* meddyliau *fy* ewyllys, fy nymuniadau, fy amser, a'm nerth. Ond yn awr, yr wyf yn dymuno na bo i mi ddim a wnelwyf a phechod mwyach, eithr ufyddhau i ddeddfau Duw, mewn calon ac ymarweddiad. unwaith yr oeddwn yn caru pechod, a'r pryd hynny yr ydoedd yn llywodraethu arnaf: canys cariad at bechod yw bywyd pechod, a bywyd pechod yw marwolaeth yr Enaid: ond yn awr, trwy râs yr wyf yn ei gasâu, ac yn dymuno i'm casineb at bechod gynhyddu yn ddirfawr. Oddi yma 'r wyf yn casglu fod gennyf fywyd ysbrydol.

 ( 2 )

( 2 ) *Yr wyf yn galaru ac yn gofydio o herwydd gweddillion pechod ynof, ac yn ceisio cymorth gan DDUW yn ei erbyn.* Fy ngofyd i yw pechod tufewnol a gweithredol: ac y mae yn fy mlino 'n fawr weithiau, na's gallaf ofydio mwy am bechod. Tra mae pechod mor agos attaf, nid wyf doim yn gwneuthur cyfammod ag êf; ond yn ymrôi yn nerth CRIST i gadw cleddyf noeth yn ei erbyn, hyd oni byddo tu hwnt iw allu fy niwidio. Mae pechod weithiau yn fy rhwystro i oddi wrth fy ngwaith, ac yn fynychach yn fy aflonyddu, ac yn fy nhrallodi yn fy ngwaith; eithr yr wyf yn gwilio yn ei erbyn, ac yn gofalu i ddefnyddio pob ordinhâd a rhagluniaeth o eiddo DUW, er marwhau pechod, a'm cynnydd i mewn grâs a fancteiddrwydd.

Oddi yma yr wyf yn casglu, na lywodraetha pechod byth arnaf. Rhyf. vi. 14. ac y câf ryw ddydd fy rhyddhau oddi wrtho yn gyfan hollol. Ac oddi yma yr wyf hefyd yn credu yr âf yn ddïogel i'r Nefoedd. Ni ddinistria pechod byth o honof, canys pechod llywodraethol yn unig sy 'n dwyn Eneidiau i Uffern; pechodau annwyl yn unig sy 'n cauad dynion allan o'r Nêf. Ond, bendigedig y f'o DUW, nid dyma fy nghyflwr i; canys yr wyfi 'n casau pechod, ac yn dymuno i'm casineb atto gynhyddu yn wastadol. Nid wyf yn rhoddi fy hun yn wás i bechod, ond a'm calon yn rhoddi fy hun yn wâs i DDUW.

3. Yr wyf yn barnu fôd gennyf fywyd tragywyddol, *am fy mod, rai prydiau, yn profi fy Enaid yn newynu, ac yn sychedu ar ôl DUW a JESU GRIST, a'i râs.* Dïau y rhaid i'r pethau hyn

darddu oddi wrth deimlad o ddiffyg ysbrydol, yr hyn sy Dystiolaeth o fywyd ysbrydol. Yr wyf weithiau yn archwaethu, ac yn blasu ar air Duw: bara yw; sy ymborth ydyw; mwy yw i mi na 'm hymborth angenrheidiol; mêl yw i'm geneu. Yr wyf yn casglu, gan hynny, fod gennyf fywyd ysbrydol: *canys y rhai sydd yn ôl y cnawd, am bethau 'r cnawd y maent yn syniaw; eithr y rhai sy 'n ôl yr ysbryd, am bethau 'r ysbryd: canys syniad y cnawd marwolaeth yw; a syniad yr ysbryd, bywyd a thangnefedd yw.* Rhuf. viii. 5, 6. Mae gennyf y rhesymmau hyn i brofi fod ynof newyn a syched ysbrydol, a chan hynny, fod gennyf fywyd ysbrydol.

( 1 ) Ni allafi ddim ymfodloni ar y mwynhâd mwyaf, a goreu o'r byd hwn, heb JESU GRIST, a'i râs, a'i ewyllys da. *Llawer sy'n dywedyd, pwy a ddengys i mi ddaioni?* Ond llais sy Enaid i yw, *ARGLWYDD, dercha arnom lewyrch dy wyneb.* Psal. iv 6. Nid daioni 'r byd yw 'r daioni penna; nid yw efe ddim yn rhan ddigon helaeth i mi: un DUW yng NGHRIST sydd felly i mi, ac nid dim arall. Yr wyf yn prysio ei ewyllys da fel bywyd, a'i gymmwynasgarwch yn fwy na'r bywyd, a'r cwbl sydd werthfawr ynddo. Ps. lxiii. 3. Ni ellir dim bodloni newyn a syched ysbrydol, ond â rhyw beth Priodol a pherthynol i atteb anghenion ysbrydol yr Enaid. Ni wnâ tai a thiroedd, Aur ac Arian ddim o'r tro; bara a dwfr y bywyd y raid ei wneuthur. Os rhydd DUW i mi ryw beth o dda 'r byd hwn, yr wyf yn ei dderbyn yn ddiolchgar, canys anheilwng wyf o'r lleiaf o'i drugareddau: ond ni allafi ddim orphwys

ym mhethau yr byd hwn, na chymeryd fy nhrefi ymaith â hwynt.

( 2 ) Mae 'r dyledſwyddau crefyddol hynny, neu 'r ordinhadau hynny o eiddo JESU CHRIST, ym-ha rai y derbyniais i ryw faint o fodlonrwydd i'm newyn a'm ſyched yſbrydol, yn dra dymynol i'm Henaid i. Yr wyf yn caru holl air DUW, a'i holl weithredoedd, ffyrdd, ac ordinhadau: etto ni allaf lai na goſod nôd neullduol ar y rhannau hynny o'i air, a'r ordinhadau, a'r odſaon hynny ymha rai y cyfarfûm i â rhyw beth o DDUW yng NGHRIST, ac y ceſais fy adfywio a'm cryfhau. Mae newyn a ſyched yn flin jawn i natur; gan hynny, y mae 'r hyn a roddo eſmwy-thder, yn felus jawn i'r goreu: felly y mae gair ac ordinhadau DUW i'm Henaid i, fel y gallaf yn galonnog uno yn y cyfryw ymadroddion a'r rhai'n, *Mòr gu gennyf dy gyfraith di*; hynny yw dy ewyllys dadguddiedig. *Byth nid anghofiaf dy ddeddfau, canys â hwynt i'm bywheaiſt. Melus odiaeth yw ei eneu.* Pſal cxix. 93, 97. Can. v. 16.

( 3 ) Rai prydiau 'r wyf yn gorfoleddu fod pryd bwyd ger llaw, Pan wyf ar fedr dyfod i,r wlêdd o bafgedigion breifion. Ni ddioddef newyn naturiol ddim yn hawdd i ddyn eſgeulyſo pryd, felly nid wyf finneu fodlon i eſgeulyſo un odfa i dderbyn ymborth yſbrydol. Ond fy nhofyd yw, nad yw fy Enaid ddim yn waſtad yn y ſâth jechyd, ac y bo i mi *ſychedu am DDUW, am y DUW byw.* Pſ. xlii. 2. fel y bo i mi *fyned at allor DUW, at DDUW, hyfrydwch fy nghorfoledd.* Pſ. xliii. 4.

( 2 ) Yr wyf weithiau yn ddiolchgar i DDUW

 am

am y brywsion lleiaf o fara 'r plant, neu ryw dystiolaeth o ffafr neullduol DUW i'm Henaid; ac etto, ni allaf ddim fodloni ar ychydig archwaeth o'r brywsion, 'nawr a phryd arall; llai o lawer y gallaf fodloni ar brawf o honynt unwaith yn unig: canys yr wyf yn gweled fod yn rhaid i mi fwytta ac yfed yn helaeth, drachefn a thrachefn. Mae Profiad o fara 'r bywyd yn chwanegu fy newyn, ac yfed o ddwfr y bywyd yn chwanegu fy syched. Pan brofwyf, iaith fy Enaid yw; *ARGLWYDD, dyro i mi y bara hwn yn wastadol*. Jo. vi 34. *Dyro i mi y dwfr hwn, fel na sychedwyf* am bethau daiarol. pen. iv. 15.

4. Yr wyf yn casglu fod gennyf fywyd ysbrydol; o blegid, pan wyf fwya dan *ofnau* ac *ambeuon*, ac yn *ofni* galw DUW, *FY ARGLWYDD a'm DUW*; ac yn *ofni* cyfri bendithion y cyfammod newydd yn eiddof fy hun; ïe, y pryd hynny, y mae fy Enaid yn *anadlu ac yn hiraethu ar ôl DUW a CHRIST*: Ni's gallaf fodloni hebddo: mae dymuniad fy nghalon yn ymgynhyrfu tu ag atto: ie y pryd hynny, yr wyf yn ofalus, ac yn hollol fwrjadol i gadw ei gyfraith.

*A'm Henaid i'th ddymynais liw nôs, A'm hysbryd hefyd o'm mewn i'th foreu geisiaf*. Es. xxvi. 9. *Cofiais dy Enw, ARGLWYDD, y nôs, a chedwais dy gyfraith*. Ps. cxix. 9.

Y rhai'n yw fy nhystion o fywyd ysbrydol, oddi ar ba rai yr wyf yn perswadio fy hun y derbyniaf fywyd Tragywyddol.

III. Y *drydedd* Dystiolaeth am y Nefoedd yw, *Fy mod yn credu yn yr Arglwydd JESU GRIST*.

canys

anys y mae DUW wedi dywedyd yn eglur, y ydd *y neb a gredo yn gadwedig.* Mar. xvi. 16. (r wyf yn bodloni fy hun, fy mod yn credu â ŷdd gyfiawnhâol, fel hyn;

1) Yr wyf o'm calon yn bodloni i, ac yn cydsyn- â ffordd DUW o Iechydwriaeth pechaduriaid, wy ffydd yn JESU GRIST: ac yr wyf yn ymwr- od yn hollol â phob ffordd arall o Iechydwrja- h, ac yn wîr ewyllysgar i roddi i DDUW yn G- RIST gogoniant yn gwbl o'm holl Iechydwria- h, fel y mae 'n ddyledus iddo yn unig. *Nid i ni RGLWYDD nid i ni, ond i'th enw dy hun dod y goniant.* Psal. Cxv. 1.

2) Am fy môd, ar alwad yr efengyl, yn dyfod JESU GRIST, ac at DDUW trwyddo ef; fel adur truan, euog, aflan, mewn cyflwr colledig; y wan i gynnorthwyo fy hun: ac yr wyf yn ei erbyn, ac yn gorphwys arno ef yn unig am fiawnder a Iechydwriaeth. Yr wyf yn bwrw fy aid, a'i anghenion arno ef, fel un galluog a phar- i achub pechadur truan, gwael. *Am hynny efe a ychon hefyd yn gwbl Iachau y rhai trwyddo ef sy dyfod at DDUW; gan ei fod ef yn byw bob amser iriol drostynt hwy* Heb. vii. 24. *Gwir yw 'r gair yn haeddu pob derbyniad, ddyfod CRIST JESU byd i gadw pechaduriaid, o ba rai, pennaf ydwyf* 1 Tim. i. 15. gan hynny, o's geilw cyfraith r DUW am fodlonrwydd yr wyf yn ei danfon JSEU GRIST, at gyfiawnder perffaith yr hwn wyf yn ffoi i atteb drosfwyf. Os geilw 'r gyfraith ufydd-dod, yr wyf yn cyfaddef fy hun yn hollol ni, fel rheol o ymarweddiad: ac yr wyf yn dif- wyl wrth JESU GRIST am ddoethineb i wy- bod.

Fod, ac am râs a nerth i wneuthur ei ewyllys: canys yn hyn yr wyf yn gorfoleddu, mai *yn ARGLWYDD y mae i mi gyfiawnder a nerth.* G *lawenychu, y llawenychaf yn yr ARGLWYDD,* *Enaid a orfoledda yn fy NUW; canys gwisgodd â gwisgoedd Jechydwrjaeth, gwisgodd fi â man cyfiawnder.* Es. lxi. 10.

( 3 ) Yr wyf yn prisio JESU GRISR yn werthfawr. Yr wyf yn casglu oddi yma, fy mod yn c du, canys *i'r rhai sy'n credu y mae, fe yn urd* neu yn werthfawr. 1 Pet. ii. 7. unwaith yr o JESU GRIST yn ymddangos i mi heb na ph na thegwch iddo; nid oeddwn yn gweled dymunol ynddo ef; ie, wedi i mi yn fynych g wed am ei ragoriaethau: Ond yn awr, fy llyg a'u gwelsant; gwelais y Brenin yn ei degwch, y mae 'n ymddangos i mi, fel y mae yn wir ddo ei hun, *yn rhagori ar ddengmil: Y mae efe yn hawddgar.* Y mae 'fe yn deilwng i fod yn d muniant yr holl genhedloedd, efe yw dymun penna fy Enaid I.

( 4 ) Yr wyf yn casglu, fy mod yn credu JESU GRISU, canys yr wyf yn dymuno bod Enaid wedi ei sancteiddio, yn gystal â bod fy m chodau wedi ei maddeu, ac yr wyf yn dis am y ddau oddiwrth JESU GRIST. Yr yn profi fod ffydd yn tueddu fy Enaid ryw fain sancteiddrwydd; canys y mae wedi cyfnewid rhyw fessyr, i gasâu pechod, a charu DUW f mae 'n sancteidd. Yr wyf yn caru sancteiddrw a phob moddion i'w ddwyn yn y blaen a Ph ac fydd yn sancteidd. Yr wyf yn cael hyn yn ith effeithiau ffydd gyfiawnhaol: *gan buro ei ca nau trwy ffydd.* Act. xv 9.

( 5

) Yr wyf yn perswadjo fy hun fy mod yn cre-
: canys yr wyf o'm calon yn ymddarostwng i
ll gyfraithiau a llywodraeth JESU GRIST, yn
stal ag yr wyf yn dymuno derbyn y pethau da
'n gynnwysedig yn yr addewidion. Fel y rho-
es DUW ei orchymynion i mi yn rheol o fy-
yd, felly yr wyf yn gofalu ei cadw, a rhodio
d â DUW ynddynt: canys yr wyf 'n hoffi ac
dewis yr hyn y mae 'fe yn ei orchymyn: ac
wyf yn gofalu, fod fy ymarweddiad yn addas i
engyl CRIST, ac yn gyttunol â'i siampl ef, ac
wyf yn gofalu i flaenori mewn gweithredoedd
.

V. Y *bedwaredd* Dystiolaeth am y Nefoedd yw,
*od fy mhechodau wedi ei maddeu.* Yr wyf yn bod-
ni fy hun, fod fy mhechodau wedi eu maddeu,
eu bod yn aml ac yn fawrion: o herwydd,
) Yr wyf wedi fy ngalw yn effeithiol, trwy
ac YSBRYD DUW, Ac yr wyf yn darllen, mai
*hai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd a gyfiaw-
hâodd efe.* Rhuf. viii. 30. Mi glyw'swn yn syn-
h am embeidrwydd pechod, ond yr oeddwn yn
yw ynddo. Clyw'swn yn fynych am fy nyled-
ydd, ond yr oeddwn yn ei hesgeuluso. Eithr
diwedd, darfu i YSBRYD DUW, trwy 'r
yfraith fy argyhoeddi o bechod; fy mod wrth na-
r, a thrwy ymarferiad, yn greadur euog, aflan,
lledig a dinistriol ynof fy hun, di-ddaioni' heb
lu cynorthwyo fy hun o'm cyflwr truenus trwy
echod; yn yr hwn yr oeddwn bob mynyd yn
darostwngedig i drueni trag'wyddol: yna y daeth
efengyl, nid mewn gair yn unig, ond mewn
allu ac yn yr YSBRYD GLAN. 1 Thes. i. 5.

Trwy

Trwy hyn y derbynias adnabyddiaeth o GRIST ei awdurdod oddi wrth y tâd, i achub pechaduriaid colledig, a'i allu i'r gwaith hwnnw: mae efe yw 'r unig Jachawdwr, ei fod yn ewllysgar, ac yn barod i achub y pennaf o bechaduriaid, ac sy'n dyfod at DDUW trwyddo efe. Ar hyn, gwnaeth YSBRYD DUW fi 'n fodlon o'm calon i. ymddarostwng i, a gorphwys ar JESU GRIST am Jechydwriaeth fy enaid. Ac fel y gwneuthum i hynny yn fynnych wedyn; felly, 'r wyf nawr o'm calon yn ei ddewis, ac yn ei gofleidio fel sy iddo, ac yn rhoddi fy hun i fynu iddo, ac yn dymuno cael fy llywodraethu ganddo. A'm calon yr wyf yn ei ddywedyd, *Wele, O ARGLWYDD, yr wyf yn dyfod attat ti, canys ti yw'r ARGLWYDD fy NUW.*

( 2 ) Yr wyf yn ddiragrith yn cyfadde fy mhechodau a'u holl amgylchiadau trymmion i DDUW; a thra 'r wyf yn eu cyfaddef, nid wyf am gadw un pechod: ond, fel yr wyf yn cyfaddef pob pechod gwybodus; felly fy dymuniad gwirioneddol yw ymwrthod â phob pechod. *Os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlon yw efe, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac yn glanhao oddi wrth bob anghyfiawnder.* 1 Jo. i. 9. *Y neb a guddio ei bechodau ni lwydda; ond y neb au haddefo, ac a'u gadawo, a gaiff drugaredd* .Diar. xxviii. 13.

( 3 ) Yr wyf yn casglu fod fy mhechod wedi ei faddeu, canys yr wyf yn credu yn yr ARGLWYDD JESU GRIST. *Cyfiawnheir pob un sydd yn credu, oddi wrth yr holl bethau, y rhai ni allai, trwy gyfraith* Moses *gael ei ryddhau oddi wrthynt.* Act. xiii. 39. Yn wîr, nid yw fy ffŷdd ond

gwan,

gwan, ond fe'm cyfiawnheir ar fy ngweithredi-
ad cyntaf o ffydd ar JESU GRIST, er mor wann
ned y bo. Canys nid yw cyfiawnhâd yn cael
ei oedi ne's byddo ffydd yn gadarn; ac nid yw
cyfiawnhâd yn amheuffaith, er y dychon ffydd yr
offeryn o hono fod felly: o blegid, nid ffydd ei
hunan yw defnydd cyfiawnhâd y pechadur cre-
idiol ger bron DUW; ond yr hyn y mae ffydd
yn edrych arno, ac yn gafaelu ynddo, *sef JESU
GRIST*. Gan hynny, mae'r credadyn gwannaf
yn nheulu DUW wedi ei gyfiawnhau, yn gystal
â'r cryfa. *Ysgrifennu'r wyf attoch chwi, blant by-
chain, o blegid maddeu i chwi eich pechodau er
mwyn ei Enw ef.* 1 Jo. ii. 12.
Am hynny yr un rhesymmau ag sydd yn fy
mherswadio i fod gennyf wir ffydd, a allant sicr-
hau i mi fod fy mhechodau wedi eu maddeu; a
thrwy'r un rhesymmau hefyd yr wyf yn sicr o'r
Nefoedd. *Y rhai a alwodd efe, y rhai hynny hefyd
a gyfiawnhaodd efe, a'r rhai a gyfiawnhaodd efe,
y rhai hynny hefyd a ogoneddodd efe.* Rhuf. viii.
30.

4. Yr wyf yn casglu fod fy mhechodau wedi
ei maddeu: canys yr wyf yn casau pechod; ac yn
caru sancteiddrwydd, a pheth bennag sydd yn tu-
eddu i ddinistrio pechod, a chwyn sancteiddrwydd
yn y blaen yn fy Enaid. Os wyf yn casâu pe-
chod, yna, nid wyf dan ei Arglwyddiaeth: mae
hynny'n Dystiolaeth fod fy mhechodau wedi eu
maddeu, canys lle mae Arglwyddiaeth pechod
wedi cael ei gymmeryd ymaith, yno y mae eu-
ogrwydd pechod wedi ei symmud hefyd.

5. Yr wyf yn perswadio fy hun, fod fy mhe-
chodau

chodau wedi eu maddeu; o herwydd yr wyf yn profi fy mod wedi derbyn amryw o fendithion eraill y cyfammod newydd, rhan o'r hwn yw maddeuant pechod. Ond ychwaneg am hyn yn y blaen.

Felly, gan fy mod wedi fy ngwisgo a chyfiawnder CRIST trwy ffydd, yr wyf wedi fy ngwisgo â'r *wisg briodas*: a phan ymddangoswyf ger bron DUW; efe a'i hadnabydd, ac a'i harddel; ac a'm harddel i fel wedi fy ngwisgo â hi. Bendigedig y fyddo DUW am JESU GRIST, a'i gyfiawnder ef: yr wyf yn dymuno fy nghael ynddo, fel yr Apostol *Paul*: *Ac i'm caer ynddo ef, heb fy nghyfiawnder fy hun, yr hwn sydd o'r ddeddf*, hynny yw, heb ymddiried ynddo, nac ymddibennu arno, *ond yr hwn sy trwy ffydd Jesu Grist, y cyfiawnder sydd o DDUW trwy ffydd*. Phil. iii. 9 A Son am ei gyfiawnder ef yn unig. *Ynghadernid yr ARGLWYDD DDUW y cerddaf; dy gyfiawnder di yn unig a gofiaf fi*. Ps lxxi. 16. Dyma sail fy hyder wrth orsedd grâs: dyma sylfaen fy nghobaith a'm ogoniant.

V. Y *bymmed* Dystiolaeth am y Nefoedd yw. Fy *mod mewn rhyw fessur wedi fy ngwir sancteiddio* Dyma'r drefn yn yr hon y mae DUW 'n dwyn ei feibion i ogoniant. *O blegid i DDUW o'r dechreuad, eich ethol chwi i Jechydwriaeth, trwy sancteiddiad yr* YSBRYD, *a ffydd i'r gwirjonedd* 2 Thess. ii. 13. Mae gennyf y rhesymmau hyn i gredu fy mod wedi fy ngwir sancteiddjo.

1. Yr wyf yn dymuno i bob pechod gael ei ddadguddio a'i ddifetha. Tra mae dyn heb ei sancteiddio

teiddio, yn dywedyd yn erbyn pechod, y mae'n gadw bwriad yn ei galon i ddal yn ddiogel rai pechodau. Os gweddia yn erbyn pechod, y mae 'n ofni i DDUW ei wrando: ond tra 'r wyfi 'n cyfadde fy mhechodau i DDUW, yr wyf yn dymuno ymadael a phob pechod.

2. Yr wyf yn casâu pechod. Nid wyf ddim yn byw heb bechod; ond pan wyf yn pechu, pêll yw oddi wrth fod yn fwyd ac yn ddiod i mi. Yr hyn wyf yn ei wneuthur yn bechadurus, nid wyf fodlon iddo; nag ê, yr wyf yn ffieiddio pechod, ac yn ffieiddio fy hun o achos pechod. Ezec. xx. 43. Yr wyf yn casglu, gan hynny, nad wyf ddim dan Arglwyddiaeth pechod: ac y mae hyn yn un Dystiolaeth i mi o'm Sancteiddiad.

3. Yr wyf yn caru Sancteiddrwydd yn fy nghalon, p'le bennag y gwelwyf ef, naill ai ynof fy hun, neu mewn eraill. Yr wyf yn ymdrechu ei ddwyn yn y blaen yn fy nghalon a'm bywyd fy hun trwy bob moddion sy wedi eu trefnu. *Pan wyf yn ewyllysio gwneuthur da, mae y drwg yn bresennol gyd â mi.* Rhuf. vii 21. Ond dymuniad fy nghalon yw, na wnelwyf ddim ac sy ddrwg, eithr yn wastad yr hyn sy dda.

4. Yr wyf yn arogli y pethau sydd o DDUW. Gallaf archwaethu, a blasu ar Air DUW: Melus yw i'm safn, melusach, n'âr Mêl i'm geneu.

5. Mae fy Enaid yn tueddu i ufydd-dod cyffredinol, parhaus i DDUW a JESU GRIST. Yr wyf o'm calon yn ei arddel ef, fel fy ARGLWYDD; ac yr wyf yn ceisio ymhob peth i

ddangos fy hun yn ddeilad cywyr iddo. Gallaf yn wirioneddol ddywedyd wrtho, yr hwn yw iaith Eneidiau wedi sancteiddio: *O ARGLWYDD ein DUW, Arglwyddi eraill, heb dy law di a Arglwyddiaethasant arnom, ni; yn awr yn unig trwot ti y coffawn dy Enw.* Es. xxvi. 13.

6. Yr wyf yn profi fy nymuniadau, a'm hyfrydwch wedi eu troi yn gwbl wrthwyneb i'r modd i buont unwaith. canys,

(1) Nid wyf ddim yn dymuno pethau da'r byd hwn yn bennaf; eithr DUW yng NGHRIST a'i ffafr neullduol yw fy nymuniad. *Llawer sy'n dywedyd, pwy o ddengys i ni ddaioni.* Ond iaith fy Enaid i yw, *ARGLWYDD, dercha arnom lewyrch dy wyneb.* Ps. iv. 7.

(2) Ni allaf ddymuno absennoldeb Duw, ond ei bresennoldeb Fy jaith i 'nawr wrth DDUW yw, *Oh na wyddwn pa le y cawn ef fel y deuwn at ei Eisteddfa: ac nid, Cilia oddi wrthym, canys nid ydym yn chwennych gwybod dy ffyrdd.* Job. xxi. 14. a'r xxiii. 3.

(3) Yr wyf yn ymhyfrydu yngwaith a gwasanaeth, ffyrdd ac ordinhadau Duw. Ei waith yw fy mwyd a'm diod, ac yr wyf yn cyfri fy ngwasanaeth yn rhydd-did perffaith. Yr wyf yn caru ewyllys dadguddiedig DUW, yr hwn sy 'n dangosi mi fy ngwaith a'm ffordd; ac yr wyf yn dymuno bod fy Enaid yn fwy parod i gadw a gwneuthur ei ewyllys yn wirioneddol, yn gyffredinol, ac yn wastadol.

VI. Y *chweched* Dystiolaeth am y Nefoedd yw, *Bod i mi berthynas â DUW mewn cyfammod.* Y

mae gennyf y rhesymau canlynol am dynnu y casgliad cysurus hwn.

1. Yr wyf yn adnabod yr *ARGLWYDD* mor belled ac i ymddiried ynddo. *A'r rhai a adwaenant dy enw a ymddiriedant ynot.* Ps. ix. 10. Mae 'r adnabyddiaeth hon yn cael ei gosod ym mysg trugareddau dewisol y cyfammod. Jer. xxxi. 31 34. Yr wyf yn proffi fy nghalon yn cael ei thynny at DDUW trwy JESU GRIST. Yr wyf yn dyfod atto, ac yn gorphwys arno am y cyfan. Ond soniais am hyn o'r blaen.

2. Yr wyf yn dewis DUW yng NGHRIST fel fy NUW i a'm rhan; ac yr wyf yn rhoddi fy hun i fynu yn ddi-ragrith i fod yn eiddo iddo ef, corph ac Enaid. Mi allaf weithiau o'm calon uno â'r rheini o blant DUW, yn galar. iii. 24 *Yr ARGLWYDD yw fy rhan i, medd fy Enaid.* Ac yn Ps. lxxiii. 25 *Pwy sydd gennyfi yn y Nefoedd ond tydi? Ac ni ewyllysiais ar y ddaear neb gyda thydi.* Os dewisais i DDUW yn eiddo i mi gallaf fod yn sicr iddo ef fy newis i yn eiddo iddo ef, canys y mae, fe yn wastad ymlaen llaw â'i bobl. *Yr ym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni.* Ac yr ym ni yn ei ddewis ef am iddo ef yn gyntaf ein dewis ni.

Felly, gallaf ddywedyd: *Fy anwylyd sydd eiddofi a minnau yn eiddo yntef.* Yr wyf yn fodloni jawn i'm rhan; y mae hi 'n helaeth ac yn hawddgar; yn bethynol ac yn sicr. Ond ni allaf fodloni i un rhan arall yn fyr o'm hanwylyd. Addawodd y byd hwn i mi 'n helaeth yn fynnych, er mwyn ennill fy serchiadau: Ond fe 'm twyllodd lawer gwaith, ac yr wyf yn diolch i DDUW iddo wne-

uthur

thur felly; canys, pe buasai 'n wastad yn cadw fy ngair â mi, ni 's gwn i ba le y buasai, fy nghalon a'm serchiadau 'n rhedeg na ph'le y buasent yn cymmeryd eu gorphwysfa; eithr yn awr, yr wyf yn hyderu, trwy râs, pa bai 'r byd yn wêll na 'i holl addewidion, na orphwysai fi ddim ynddo: canys rhoddais fy nghalon a'r cyfan i DDUW yn JESU GRIST; ac yr wyf yn dymuno i'm serchiadau gael eu cymmeryd i fynu gan y pethau hynny na ddychon y byd na'u rhoddi na'u cymmeryd ymaith.

3. Yr wyf yn casglu fy mod mewn cyfammod â DUW, gan iddo osod ei YSBRYD o'm mewn canys hynny yw un ymhlith llawer o addewidion y cyfammod. *gosodaf fy YSBRYD och mewn* Ezec. xxxvi. 26. Mae gennyf y rhesymau hyn i gredu fy mod wedi derbyn yr addewid honno.

[ 1. ] Y mae weithiau yn fy nghynnorthwyo wrth orsedd gras, fel YSBRYD gras a gweddi. Zech. xii. 10.

[ 2 ] Y mae 'n gweithio yn fy Enaid, fel Ysbryd sancteiddrwydd, yn gwanhau pechod, ac yn fy nghynnorthwyo i farw i bechod, a byw i gyfiawnder

( 3. ) Yr wyf yn profi fy Enaid yn tueddu, i *rodio yn neddfau* DUW; yr hyn beth nid oes neb yn tueddu iddo, hyd oni rodder YSBRYD DUW o'u mewn. *Rhodâf hefyd fy YSBRYD o'ch mewn a gwnaf i chwi rodio yn fy neddfau, a chadw fy marnedigaethau a'u gwneuthur* Ezec. xxxvi. 27.

4. Yr wyf yn casglu fy mod mewn cyfamod â DUW; gan fod cyfraith DUW wedi ei sgrifennu yn fy nghalon. Addewid arall or cyfammod

yw

yw hyn; Jer. xxxi 33. Mae gennyf y rhesymau hyn i beidio gwadio fy hun, fy mod wedi derbyn y drugaredd gyfamodol hon.

(11) Y mae fy nghalon yn bodloni i, ac yn cytuno â chyfraith DUW, neu ei holl ewyllys dadguddiedig, ei fod *yn sanctaidd, yn gyfiawn, ac yn dda.* Yr wyf yn ymwrthod â'r rhyn y mae'r gyfraith yn ei gondemnio; ac yn *casâu pob gau ffordd,* ac yn gofalu i ymgadw rhagddynt, ac yn gweddio am gymmorth yn eu herbyn.

(12) Yr wyf yn caru holl air DUW, ac yn dymuno iddo gyfaneddu yn fy nghalon, a'm meddyliau. Yr wyf yn caru ei glywaid, ac y mae 'n flin gennyf na allaf gofio chwaneg o hono pan y clywyf ef; mae yn dda gennyf ei ddarllen, a myfyrio arno, dyna 'r hyn wyf fi yn ei ddewis yn fynych i feddwl am dano. *Mor gu gennyf dy gyfraith di! hi yw fy myfyrdod beunydd:* neu 'n fynych yn y dydd neu bob dydd. Ps. cxix. 97. Yn fy holl gyfyngderau yr wyf yn ffoi atti; fy nghyssur yw *yn amlder fy meddyliau ynof.* Fy ymborth yw, *dy eiriau a gaed, a mi a'u bwyteais hwynt; ac yr oedd dy air i mi 'n llawenydd, ac yn hyfrydwch fy nghalon,* Jer. xv. 16. Fy nhryssor yw, ynddo y mae fy rhan; gallwn weithiau ddywedyd, *gwell yw i mi na miloedd o aur ag arian.* Ps. cxix. 72.

(13) Yr wyf yn ymdrechu rhoddi ufydd-dod cyffredinol i holl gyfreithiau DUW. Fel y mae DUW wedi eu trefnu i fod yn rheol o fywyd i bob credadyn, felly 'r wyf fi o'm calon yn eu cofleidio, oddi yma 'r wyf yn casglu fod gennyf hawl yn yr addewidion: canys, pan y mae DUW yn rhoddi i neb hawl yn ei addewidion, y mae yn rhoddi

( 4 ) Yr wyf yn profi dymuniadau fy nghalon yn gweithio tua 'r Nefoedd. Nid yw fy nghalon ddim yn ymddibynu yn y ddaiar, fel y gwna calon garreg; yr hon, er y gellir ei gwthio, fel careg, tu ag i fynu trwy 'r gair neu ryw ragluniaeth gynhyrfiol, etto hi duedda 'n fuan tua 'r ddaiar drachefn, oblegid mai 'r ddaiar yw ei gorphwysfa briodol. Y pethau hyn yw rhan o'm gobaith a'm y Nefoedd. Fy NUW i mewn cyfammod yw 'r ARGLWYDD; gan hynny, eiddofi yw holl drugareddau y cyfammod. A chan i Dduw fy anrhydeddu fel hyn, *nid cywilydd ganddo ei alw yn DDUW i mi.* Heb. xi. 16. O rhyfedd râs! Mae 'n gywilydd genny'fi fy hun, fy nghalon, fy meddyliau, fy ngweddiau, am ymarferjadau crefyddol; ac nad yw fy mryd yn fwy ar gyfoethogrwydd rhâd râs, a'm trugareddau fy hun. Yn ddïau, nid oes gennyf un rhefwm i fod arnaf gywilydd o ffyrdd DUW, nac o'i waith, na'i wafanaeth, nac o'm hetifeddiaeth fy hun; ond i orfoleddu ynddo, a byw arni, canys ni fiomma hi ddim o honof. Pe cawn fy niddymmu o'm cyffuron bydol, fy nghyfeillion a'm ceraint, &c. Mae gennyf fy NUW, a'm hetifeddiaeth etto i fyned attynt. Pan fycho 'r ffrydiau, ni phalla 'r ffynnon ddim i mi. Mae 'r creaduriaid yn anwadal. Dychon y rhai fy 'n dangos caredigrwydd heddyw fod yn elynion y foru. Y rhai a wnânt addewidion heddyw, gallant newid eu meddwl y foru: Ond DUW yw, ac y fydd, fy rhan i yn dragywydd. Yr rhai y mae 'r byd hwn yn rhan iddynt, gallant ar fyr wybod terfynu eithaf eu rhan; eithr ni bydd i mi byth wybod changder

F fy

fy rhan i: ac fel y mae hi 'n ehang, felly y mae 'n berthynol, ac a barhâ yn dragywydd. *DUW yw nerth fy nghalon am rhan yn dragywydd.* Pf. lxxiii. 24. Nid oes gennyt ond ychydig o'r byd hwn; ond y mae gennyf, yr hwn y mae pob peth yn eiddo iddo. Efe yw fy mywyd, fy ymborth, fy nghyfoeth, fy anrhydedd, fy noddfa, fy *nhari-an* am *gwobr mawr jawn*, fy nghyffur, fy nghy-faill, fy Nhâd, fy nghartref, am trigfan dragy-wyddol.

VII. Y *Jeithfed* Dyftiolaeth am y Nefoedd yw, *Fy mod yn blentyn mabwyfiadol i DDUW.* Yr wyf yn cafglu mai hyn yw fy nhrugaredd, oddi wrth y cyfryw bethau a'r rhain.

1. Yr wyf yn credu yn yr ARGLWYDD JE-SU GRIST. *Cynnifer ac a'i derbyniasant ef, efe a roddes iddynt allu i fod yn feibion i DDUW, fef i'r fawl a gredant yn ei Enw ef.* Jo. i. 12. *Chwi ôll ydych blant i DDUW trwy ffydd yng Nghrist* JESU. Gal. iii. 26.

2. Yr wyf yn caru 'r Arglwydd JESU GRIST. Mae holl blant DUW yn caru JESU GRIST. *Pe DUW y fyddai eich tâd, chwi am carech i.* Jo. viii. 42. Yr wyf yn profi yn y nghalon fy mod yn caru CRIST; a blin gennyf nad wyf yn ei garu 'n fwy: ond yr wyf yn ei garu yn wirioneddol: am hynny yr wyf yn cafglu fy mod yn un o blant DUW.

3. Danfonodd DUW YSBRYD ei Fâb i'm ca-lon. *o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd* DUW *YSBRYD ei* Fâb *i'ch calonnau chwi yn llefain Abba Dâd.* Gal. iv. 6.

4. Yr wyf yn caru holl blant DUW. *Anwylyd,*

*car wn*

*carwn ein gilydd, o blegid cariad, o DDUW y mae; a phob un ac sydd yn caru, o DDUW y ganrwyd ef, ag y mae 'fe 'n adnabod DUW.* 1 Jo. iv 7. Y rhai ydynt yn dwyn delw DUW, yr wyf yn eu cyfri yn *rhai rhagôrol y ddaiar, yn y rhai y mae fy holl hyfrydwch* Ps. xvi. 3.

5. Yr wyf yn disgwyl wrth DDUW, fel plant wrth eu tâd, am ddysgeidiaeth i adnabod ei ewyllys, fel y gallwyf eu gadw a'i wneuthur, ymhob cyflwr, hyn yw fy ymofyniad, *ARGLWYDD, beth a fynni di i mi eu wneuthur?* Yr wyf yn rhedeg atto ef am ymddiffyniad, fel y rhêd plant y fo 'n cael niwaid i freichiau eu tâd, am ddiogelwch. Ac yr wyf yn disgwyl wrtho ef, am ran plentyn, o râs yma, a gogoniant yn ol hyn.

6. Yr wyf yn gofalu am ymddwyn fy hun yn gyfattebol i'r berthynas uchel anrhydeddus hon, fel y mae DUW 'n disgwyl ar bawb ac a'i galwo ef yn Dâd. *os ydwyfi Dâd, p'le mae fy anrhydedd.* Mal. i. 6. Yr wyf yn gofalu am anrhydeddu Duw yn fy mywyd trwy ymddarostwng i'w air a'i raglumiaethau, a'c ymdrechu i ganlyn ar ei ôl, yn ôl y gorchymyn hwnnw, *Byddwch ganlynwyr* Duw *fel plant anwyl* Eph. v. 1. Yr wyf yn dymuno anrhydeddu DUW yn fy nghalon. Oddi wrth y cyfan, yr wyf yn casglu fy mod yn un o blant mabwysiadol DUW. A chan fy mod yn blentyn i DDUW, yr wyf yn etifedd gyd â CHRIST o fywyd tragwyddol. *Felly, nid wyt ti mwy yn wâs, ond yn fâb; ac os mab, etifedd hefyd i DDUW trwy Grist* Gal iv. 7. blant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i DDUW, a chŷd etifeddion â CHRIST. *R*huf. viii 17. Mae 'r drugaredd hon yn sicrhau i mi y

câf weled JESU GRIST megis ac y mae, a bod yn fwy cyffelyb iddo. *Anwylyd, yr awr hon meibion i Dduw ydym, ac nid amlygwyd etto beth a fyddwn: eithr ni a wyddom, pan ymddangoso efe, y byddwn gyffelyb iddo, o blegyd ni a gawn ei weled ef megis ac y mae.* 1 Jo. iii. 2. trugaredd wedi ei haddo yw hon, bob ffordd mor ehang a chyfatebol ac fy raid i mi wrthi. canys,

( 1 ) Yna y gwneir y corph gwael hwn yn debig i gorph gogoneddus CRIST. *Yr hwn a gyfnewidia ein corph gwael ni, fel y gwneler ei yr un ffûrf a'i gorph gogoneddus ef.* Phil iii. 21.

( 2 ) Bydd fy enaid yn berffeith mewn gras yn awr nid adwain ond o ran, eithr yna 'r adwaenaf, fel i'm hadwaenir. Nid yw yr hyn a dderbynjais ond *blaen ffrwyth yr YSBRYD*; ac awdwr gras a gyflawna yr hyn a berthyn i mi.

( 3 ) Yr wyf yn awr wedi ym dyweddio â CHIRST ac er fy mod i etto mewn gwlâd ddieithr fy Nhâd nefol a'm cymmer adref yw dy ei hun. yr hwn fŷdd eiddofi hefyd trwy rôdd y Tâd, a thrwy bwrcas a pharatoad JESU GRIST. O mor ogoneddus i'm haddurnir yn ymddangosiad CRIST ! Pf. xvi 10, 11. Yna câfi feddiannu yr hyn ni ddaeth er joed i galon dyn ei dychymmyg. Gweddiodd ein HARGLWYDD JESU GRIST am hyn. *Y tâd y rhai a roddaist i mi, yr wyf yn ewyllysio lle 'r wyfi, fod o honynt hwythau hefyd gyd â myfi; fel y gwelont fy ngogoniant.* Jo. xvii. 24. Hyn a'm gwna 'n gymmwys i waith a chymdeithjas y Nefoedd. Pan feddyliwyf beth yw y Nefoedd, a pheth yw ei gwaith a'i mwynhâd, ac mor fâch yw 'm cymhwysder i'r naill na'r llâll o honynt; yr wyf yn ymgyffuro, y cymhwysa fy nhâd nefol fi i fod yn gy-
frannog

frannog o etifeddiaeth y ſaint yn y goleini. A hyn a'i gwnâ yn gyflawn, cawn eu weled ef ( ſef JESU GRIST ) megis ac y mae.

*VIII.* Yr *wythfed* Diſtiolaeth am y nefoedd yw, *Fy mod yn caru DUW.* Yr wyf yn darllen fod y nefoedd, a'r cwbl ſydd ynddi, wedi ei pharatoi *i'r rhai ſy'n caru DUW. Ni welodd llygad, ac ni chlywodd clûſt, ac ni ddaeth i galon dyn y pethau a ddarparodd DUW i'r rhai a'i carant ef.* 1 Cor. ii. 9. Yn wir nid wyfi ddim yn ei garu ef fel y dymunwn: ond y mae gennyf y rheſymau hyn ſy mod yn eu garu 'n wirioneddol.

1 Nid yw deddfau DUW ddim yn dra thrymion i mi. *Hyn yw cariad DUW, bod i ni gadw ei orchymynion ef; a'i orchymynion ef nid ydynt drymion.* 1 Jo. v. 3. Mae fy nghalon yn fodlon iddynt, nid wyf yn taflu un o honynt y tu ôl i'm cefn nid wyf naç yn caniatau naç yn caru un meddwl gwrthwyneb i gyfraith bûr Duw. Nid wyf ddim yn pigo ac yn dewis, yma ac acew, am beth o'r rhannau hawſaf yngwaith y gwir griſtion, eithr yr wyf yn edrych arnynt oll. Pſ. Cxix 6. Gwn mae gwael yr wyf yn eu gadw, er hynny, mae fy nghydwybod yn dyſt fy mod yn wirjoneddol yn fy ufydd-dod.

2. Yr wyf yn mawr lawenychu am ryw amlygiad teimladwy o gariad ag ewyllwys dâ DUW i'm enaid; dyna fy ymborth, fy nerth a'm bywyd. Yr wyf yn ſelio y Tyſtiolaethau hynny o eiddo y rhai oedd yn caru *DUW Yn ei fodlonrwydd y mae bywyd.* Pſ. xxx. 5. *gwêll yw dy drugaredd di na'r bywyd.* Pſ. lxiii. 3. Yr wyt yn gorfoleddu yn ei preſennoldeb, ac yn gofydio am ei abſenoldeb.

Yr

Yr wyf yn diolch i DDUW, mi wn beth yw'r pethau hynny, pan y mae 'fe 'n dangos e'i wy... neb, a phan y mae 'n eu guddio.

3. Yr wyf yn gofydio pan y mae DUW 'n cael ei ddianrhydeddu gennyfi neu eraill: er, y... wyf yn cyfaddef, nad wyf ddim bob amfer yr un flinder calon am fy mhechodau fy hun, na'r eidd... eraill. Yr wyf yn cyfri achos DUW, fy achos f... hun a chafeion Duw fy nghafeion i. Pf. cxxxi... 21. 22. Nid wyf yn dymuno iddynt ddim drwg; canys yr wyf yn taer weddio dros ddaioni eu He... naidiau; ac yr wyf yn barod i wneuthur iddyn... un gwafanaeth iw cyrph, neu iw meddiannu... ond, pe byddent fy mherthynafau, yr wyf yn tybied yn waeth a'm danynt fel y maent yn e... ynjon i DDUW.

4. Yr wyf yn caru holl blant DUW, ... mwyn y Tâd a grâs DUW ynddynt, a'i ddel... arnynt; er na bônt, ymhob peth, yr un farn â ... Ac er fy môd yn gwybod ac yn cyfaddef fo... ganddynt eu dyffygion, a'u gwendidau; etto ... allaf aros clywaid eu gwawdio a'u dyrmygu, ... amharchu eu henwau. Y rhai fy 'n anrhyd... ddu DUW, trwy ymddyried ynddo, ac ufyddha... iddo, yr wyf yn eu parchu o'm calon: gall... wneud un peth droftynt; ac y mae gennyf amg... olwg arnynt, nâ rhai dirâs, er mor dlawd y fô... hwy, ac mor gyfoethog y fo 'r dirâs. Yr wyf ... cyfri y rhai hyn, fydd blant i DDUW, yn rh... rhagorol y ddaiar; fy hyfrydwch fydd ynddyn... mae fy nghalon yn cael eu thynnu allan iw car... cynted ac y deallwyf eu bod hwy 'n caru DUW... Yr wyf yn cymmeryd rhyw gyffur yn hyn: can...

ni ddychon neb arall, er mwyn DUW, oddi eithr eu fod yn caru DUW.

5. Yr wyf yn profi fy nghalon yn barod i dybied yn dda am beth bennag a welo DUW yn dda eu wneuthur â mi, am heiddo yn nhrefn ei ragluniaeth. Yr wyf yn credu ei fod yn gwneuthur pob peth yn dda, ac yr wyf yn credu ei fod yn gwneuthur pob peth yn oreu i mi. *Cariad ni feddwl drwg*. 1 Cor. xiii. 5. Ac yr wyf yn credu nad yw fy NUW, a'm Tâd, yn meddwl dim drwg i mi trwy fy holl gystyddiau, croesau, a siommedigaethau: canys efe a ddywedodd, *yn ddiau gwna i ti ddaioni*: ac yr wyf yn ei gredu, ac yn fodlon ei adael iw ffordd ei hun i ddwyn oddi amgylch y daioni a addawodd. Oddi yma yr wyf yn casglu y tri pheth canlynol.

(1) I DDUW fy ngharu i: canys *yr ydym ni yn ei garu ef, am iddo ef yn gyntaf ein caru ni*. 1 Jo. iv. 19. Nid yw fy nghariad i atto ef ond ffrwyth ei gariad ef attafi.

(2) Fod pob peth yn cŷd-weithio er daioni i mi ac y parhâ pob peth i wneuthur felly. *Ac ni a wyddom fod pob peth yn cŷd-weithio er daioni i'r rhai sy 'n caru DUW*. Rhuf. viii. 28. Ac mysi ai gwn, yn enwedig, am cystyddiau; or lleia rhai o'r rhai y bûm danynt canys.

[1] Hwy a fuant yn ganwyll yr ARGLWYDD i ddangos i mi fwy o'm calon a'm bywyd, a thrwy hynny, buant fodlon i'm dwyn yn isel.

[2] Mi ddysgais trwyddynt fwy o ymddarostyngiad i ewyllys DUW, ac iw gyfiawnhau ef yn ei holl ffyrdd tuag attafi.

[3] Hwy a fuant o ddefnydd da im cadw i 'nôl oddi

oddi wrth bechod, ac im gosod yn fwy ar y gwaith angenrheidiol o wilio a gweddio. Rai prydiau, ni wneuthum i ond gwaith gwael, oerllyd o weddi, hyd oni ddeffrodd DUW fi trwy ryw gystydd neu gilydd.

[ 4 ] Trwy hynny dysgais, yn fwy profiadol, beth yw DUW yn ei berffeiddrwydd; fel y dychon ei allu gynnal; fel y mae 'fe 'n casau pechod; felly mae 'fe 'n cyflawni ei air ffyddlon; mor ddoeth a grasl wn ydyw yn ei drefnhâd.

[ 5 ] Gwnaeth cystyddiau fi 'n fwy clûst agored i air DUW; a gwnaethant y gair yn fwy blasus i mi. Mae ymborth da yn hyfryd jawn i gylla newynog: felly y mae y *manna* Nefol i Eneidiau newynog. Ni all y rheini ei alw 'n *fara gwael.*

[ 6 ] Darfu iddynt fy meddiginiaethu o lawer o'm hysgafndra a'm gwagedd, a gwnaethant fi 'n fwy difrifol mewn crefydd. Felly, *allan o'r bwytawr y daeth bwyd*, er jechyd a nerth i'm Henaid i.

( 3 ) Yr wyf yn casglu hefyd, oddi wrth fy ngharjad at DDUW, y bydd i mi fwynhau 'r hyn a ddarparodd DUW yn y Nefoedd iw blant; canys y maent wedi eu tryssori i'r rhai a'i carant ef. *Ni welodd llygad, ni clywodd clûst; ni ddaeth i galon dyn, &c.* 1 Cor. ii. 9. *Y deyrnas a addawodd DUW i'r rhai sydd yn ei garu ef.* *Jago.* ii. 5.

IX. Y *nawfed* Dystiolaeth am y Nefoedd yw, *Fy mod yn caru 'r ARGLWYDD JESU GRIST mewn gwirionedd.* Ac y mae gennyf y rhesymmau hyn i gasglu fy mod yn ei garu.

1. Yr wyf yn agor fy holl galon iddo, ac yn dymuno

dymuno iddo gael y cwbl feddiant, a llywodraethjad o honi, ac na bo dim yn trigo ynddi, ac y bo efe 'n anfodlon iddo.

2. Yr wyf yn caru gair DUW am ei fod yn fôn cymmaint am JESU GRIST. Yr wyf yn caru holl ordinhadau DUW, am mai y moddjon ynt a drefnodd DUW i gynnal cymmundeb ag ef ei hun, ac i gynhyddu mewn tebygoliaeth iddo; yr hyn bethau 'r wyf yn ei ddymuno. Yr wyf yn caru bod yn agos atto; am hynny, yr wyf yn prifio *un dydd yn eu gynteddau yn wêll nâ mîl mewn lle arall.* Pf. lxxxiv. 10.

3. Yr wyf yn caru y rhai fy'n caru JESU GRIST: ond ni allaf aros o'r rhai drwg; nid wyf yn ymhyfrydu yn, nac yn dewis, eu cymdeithas, na'u cyfeillach, ddim pellach nag y gallwyf fod o ddefnydd i'w Heneidiau, yn y lleodd ac y bo rhagluniaeth DUW yn fy nghalw. Ond yr wyf yn hoffi cymdeithas y rhai fy'n caru, ac yn rhodio gyd a JESU GRIST. *Cyfaill ydwyf i'r rhai oll a'th ofnant.* Pf. cxix. 63. mae gan y rhai drygionus eu cyfeillion, y cyfryw y maent hwy 'n eu dewis, ac yn ymhyfrydu bod gyd â hwy: ac y mae gan Ddyfgyblion CRIST eu cyfeillion eu hunain. *A hwythau, wedi eu gollwng ymaith, a ddaethant at yr eiddynt:* Hynny yw, at eu cyd-ddyfgyblion; ac a unafant â hwy 'n addoliad DUW. Act. iv. 23. Felly, gellir adnabod *Criftion*, fef, un ac y fo 'n caru DUW, a JESU GRIST, wrth eu *gyfeillion.*

4. Yr wyf yn caru clywaid Eneidiau 'n ymofyn ar ôl JESU GRIST. ac yn proffeffu eu ffydd ynddo ef a'u hyfydd-dod iddo. Mi fynnwn i

bawb ei adnabod ef, a chael hawl ynddo.

5. Yr wyf yn taer ddymuno bod mwy o gariad yn fy nghalon at JESU. Blin gennyf nad wyf yn ymhoffi ynddo yn lwy; am hynny, 'r wyf yn llefain ar awdwr grâs; *ARGLWYDD 'chwanega fy ffŷdd*: *ARGLWYDD, yr wyf yn credu, cynmorth fy angrediniaeth*. Canys yr wyf yn credu pe bau gennyf fwy o ffŷdd yn JESU GRIST, y cawn ef yn fwy: canys y mae *ffŷdd yn gweithio trwy gariad*. Gal. v. 6. Neu mae cariad at GRIST yn cyfatteb i'n ffŷdd ni ynddo.

6. Fy ngofal mawr yw i rodio a gweithio yn ôl gorchymynion a siamplau JESU GRIST. *Yr hwn sydd a'm gorchymynion i ganddo, ac yn eu cadw hwynt, efe yw 'r hwn sy'n fy ngharu i*. Jo. x.iv 21. Ac yr wyf yn ceisio canlyn JESU GRIST, mewn Sancteiddrwydd diragrith, Nefol synniad, a zêl dros ogoniant DUW, a gofal am Eneidiau gwerthfawr. Oddi yma yr wyf yn casglu y gwirioneddau cyssurus hyn. sef,

( 1 ) FOD JESU GRIST yn fy ngharu i. *Y sawl am carant i a garaf finneu*. Geiriau ein HARGLWYDD JESU ydynt. Diar. viii. 17.

*( 2 )* I JESU GRIST roddi ei hun drosofi. *Yr hwn am carodd i ac a'i dodes ei hun drosofi*. Gal. ii. 20. Ac y mae gennyf y rhesymau hyn am fy nghasgliad.

[ 1 ] Yr wyf yn un o ddefaid galwedig JESU GRIST. *Mae 'r Bugail da yn rhoi ei einioes dros y defaid*. *Jo*. x. 11. Yr wyf yn canfod nodau y defaid arnaf fy hun. *Adn*. 3, 4, 5. Dywedir am danynt, eu bod yn *adnabod llais CRIST ac yn gwrando arno*; ac nad *adwaenant lais dieithr-*

-jaid

*jaid*, ac na's *canlynant hwy*, ond canlynant yr ARGLWYDD JESU GRIST.

[2] Yr wyf yn canfod nodau y gwaredigion arnaf. Y maent yn cael eu darlynio fel hyn, yn Dad. xiv.

1.) Y maent gyd â 'r OEN, ar fynydd *Sïon*, ac yn ei ganlyn i b'le bennag yr elo. *Adn.* 1. 4. Fel y mae 'r ARGLWYDD JESU *'n rhodio yng nghanol y Cannwyll-brennau Aur*, fy ngofal i yw rhodio yn ofalus gyd ag ef, mewn ufydd-dod diwyd i'w holl ordinhadau; ac yr wyf yn fodlon i fod wrth ei drefn ef ymhob peth.

2.) Dywedir am y gwaredigion, *fod Enw ei Dad ef yn scryfenendig yn eu talcennau. Adn.* 1. Ac yr wyfi 'n gofalu ar fod fy ymarweddiad i 'n amlygu i bawb, fy mod i yn un o blant DUW, trwy fy ymarweddiad gwastadol a chrefydd a duwioldeb.

3.) Dywedir am danynt eu bod yn *flaen ffrwyth i DDUW. Adn:* 4. Yr wyf yn edrych arnaf fy hun fel y cyfryw; canys yr wyf yn cyflwyno fy hunan i DDUW, a'i wasanaeth, gan ddymuno, a bwriadau, bod yn eiddo iddo yn Dragywydd.

4.) Dywedir am y gwaredigion, *na chaed twyll yn eu geneu. Adn.* 5. Y mae fy nghŷdwybod yn Tystiolaethu drosofi, fy mod yn wirioneddol o'm calon, yr hyn a fynnwn ymddangos fy mod o flaen eraill. Yr wyf yn casau pechod, tra yr wyf yn dywedyd yn ei erbyn, yr wyf yn ofalus i rodio gyd â DUW yn y dirgel, yn gystal ac yn yr amlwg, yr wyf yn disgwyl wrtho mewn ordinhadau. Yr wyf yn cyfadde gyd â chywilydd,

fod fy meddyliau rai prydiau yn ofer, yn anghrediniol, ac yn gableddus; ond fy nghofyd am blinder ydynt; yr wyf yn galaru o'u herwydd ger bron DUW, ac yn ceifio cymmorth yn ei herbyn: canys nid wyf am guddio un meddwl oddi wrtho: eithr, fel yr wyfi fy hun yn chwilio fy nghalon, felly 'r wyf yn dymuno i DDUW fy chwilio i hefyd. *Hola fi, Arglwydd a phrawf fi, chwilia fy arennau a'm calon.* Pf. xxvi. 2. Yr wyf yn caru gweinidogaeth, y gwirioneddau ac y f'o yn chwilio; am y rhai y gellir dywedyd fel y dywedai y wraig am GRIST. *Deuwch, gwelwch ddyn yr hwn a ddywedodd i mi yr hyn* oll *a wneuthym.* Jo. iv. 29. Mae 'r cyfryw weinidogaeth fel yr haul yn ei yrfa, am yr hwn y dywedir, *nid ymgûdd dim oddi wrth ei wrês ef.* Pf. xix. 6.

5.) Dywedir am y gwaredigion, eu bod yn *ddifai ger bron gorfeddfaingc DUW. Adn.* 5. Fel yr wyf ynnof fy hynan, nid wyf yn ddifai; canys creadur pechadurus wyf, yn pechu beunydd: ac etto yr wyf yn cynhwyfo hyn attaf fy hun; canys, gan fy mod wedi fy ngwifgo â chyfiawnder perffaith JESU GRIST, mae DUW yn edrych arnaf 'nawr ynddo ef heb frycheuyn ac fe'm gwêl yn ddifai ger bron ei orfeddfaingc. O, bendigedig y fo DUW âm JESU GRIST, a'i gyfiawnder perffaith!

( 3 ) Oddi yma yr wyf yn cafglu, na wahanir byth o honof oddi wrth gariad JESU GRIST. Canys y mae 'n ddïogel gennyf, na all nag angeu, nag einioes; nac angylion, na thywyfogaethau, &c. Rhyf. viii. 38. 39.

( 4 ) Ar y cyfan, yr wyf yn cafglu y câf fyned i'r

i'r Nefoedd, i'm llenwi yno â grâs, a'm digoni â gogoniant. *I beri i'r rhai a'm carant i Etifeddu silwedd, a mi a lanwaf eu tryssorau.* *Diar.* viii. 21.

## *Y DIWEDD-GLO.*

Yn awr, ddarllenydd crediniol, os wyt byth yn ammeu am dy gyflwr; cofia, nad yw dy hawl yn y cyfammod ddim yn ymadael, pan y bo dy gysfur di 'n ymadael. Fe ddychon Enaid fod yn nês at JESU GRIST, mewn hyder, ag ymddiried gostyngedig, a dymuniadau cryfion, pan y bo fwya yn y tywŷll: fel y lleuad yn lleiaf ei goleuni pan y bo a'r y newid, etto y mae 'nês at yr haul nag ar y llawn lloer. Gelli ddywedyd am dy Enaid pan y bo allan o dymmer, fel y dywedodd *Dafydd* am ei dŷ, *er nad yw fy nhŷ i felly gyd â DUW; etto cyfammod tragwyddol a wnaeth efe â mi, wedi ei lluniaethu yn hollol ac yn sicr; canys fy holl Jechydwriaeth yw.* 2 *Sam.* xxiii. 5. canys nid yw dy Jechydwriaeth yn gorphwys ar dy gyssuron. Dychon *wylofain aros dros brydnawn, ac erbyn y boreu y bydd gorfoledd.* Ps. xxx. 5. chwilia allan yr achos o'th flinder, a gweddia ar i Dduw ddychwelyd. *Dywed wrth fy Enaid, myfi yw dy Jechydwriaeth.* *Ps* xxxv 3. *gosod fi fel sêl ar dy galon, fel sêl ar dy fraich, canys cariad sydd gryf fel angau; eiddigedd sydd greulon fel y bêdd, ei farwor sydd farwor tanllyd, a fflam angerddol iddynt.* *Can.* viii. 6. *Dyro i mi drachefn orfoledd dy Jechydwriaeth ac â'th hael ysbryd cynnal fi.* *Ps.* li. 12.

Os gwir gredadyn wyt, gelli ymgysuro yn hyn er nad yw YSBRYD DUW yn gweithio yn dy

Enaid

Enaid yn awr fel *diddanudd*: etto y mae ynot yn barhaus fel YSBRYD *grâs*: a gelli gymmeryd hyn yn Dystiolaeth o hynny fef, na elli lai na galaru am absennoldeb DUW, a hiraethu âm ei ddychweliad.

Ond os yw dy dystiolaeth am y nefoedd yn eglur bydd ofalus rhag tywyllu dy Dystiolaeth. Gochel bechod: ffo rhag pob rhith drygioni, gwilia yn erbyn temtasiwnau satan. *Satan a'ch ceisiodd i'ch nithio fel gwenith*. Dywedwyd hyn wrth y dysgyblion wedi iddynt dderbyn rhai nodau neullduol o ffafr *CRIST*. Ond er fod satan a llygredigaeth yn gryf, dal yn y blaen, yr wyt yn sicr o fuddugoliaeth: Y rhyfel sydd eiddo 'r ARGLWYDD. Cryfach yw capten ein Jechydwriaeth, nâ 'r cewri ar y ffordd. Cryfach yw y llew o lwyth *Juda* nâ'r llew rhyadwy o uffern. Na ddiffodd yr ysbryd gochel ddiofalwch. Na ddywed, o herwydd dy gysfuron presennol, *Ni 'm syflyr yn dragywydd*, Y mae *cryfder yn ty mynydd*. Ps. xxx 6, 7. Na esgeulusa un rhyw ddyledswyddau crefyddol, ac na ddioddef dy hun i fod yn ffurfiol ynddynt. *Na fydd ddiog mewn diwydrwydd, eithr yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu 'r ARGLWYDD* cymmer hyn fel rheol sicr, os nid yw dy sicrwydd, neu 'r hyn wyti yn teddwl ei fod yn sicrwydd am y nefoedd, yn gwneuthur i ti fod yn fwy gofalus am ymarfer â sancteiddrwdd, ac yn dy rwymo 'n dynn at dy ddyledswydd tu ag at DDUW a dynion, yn nhŷ DDUW, ac yn dy amrywiol berthynasau; twyll ydyw oll. *Gan fod gennym yr addewidion hyn, anwylyd, ymlanhawn oddi wrth bob halogrwydd cnawd ac ysbryd, gan berffeithio*

*sanc-*

*fanctleiddi wydd yn ofn* DUW. 2 *Cor.* vii. 1. *Mae pob un y mae ganddo y gobaith hwn ynddo ef yn ei buro ei hun megis y mae yntau 'n bûr* 1 Jo. iii. 3.

Beth bennag yw dy gyrhaeddiadau, a'th fwynhâd, gofala am fyw trwy ffydd Mâb DUW. canys y mae cyffuron yr Enaid crediniol yn cael eu hanfon, fel grawn-fwpiau yn cael eu dwyn drofodd i'r anialwch; nid fel y bodloner ni â phrawf a blaen ffrwyth grâs a'r Nefoedd; ond fel bo i'r prawf hogi ein dymuniadau ar ôl y mwynhâd cyflawn, a di-rwyftr. Canys fel hyn y dylem ymresymmu â ni ein hynain, Os yw 'r briwfion hyn mor felus, beth a fydd ymborth llawn Tŷ fy Nhâd! Os yw un llewyrchiad o wyneb CRIST mor hyfryd, beth y fydd y llawn olwg o hono mewn gogoniant! Er fod ein Tâd nefol yn gofod bwrdd i ni yn yr anialwch, etto dylai ein llygaid, a'n calonnau ni fod tua 'r hyfryd wlad. A roddes Duw i ti râs, ac a oes gennyt ryw obaith am y Nêf trwy râs? Yna, nag efgeulufa ddeffroi dy Enaid i fendithio a moli Duw, rhoddwr grâs. *Fy Enaid, Bendithia 'r Arglwydd, ac nac anghofia ei holl ddoniau ef; yr hwn fydd yn maddeu dy holl anwiredd, yr hwn fydd yn Iachâu dy holl lefgedd: yr hwn fydd yn gwaredu dy fywyd o ddeftryw, yr hwn fydd yn dy goroni â thrugaredd ac â thofturi: yr hwn fydd yn diwallu dy Enaid â phethau da. Pf.* ciii. 1, 2, 3, 4, 5. Os dy drugareddau di yw y rhai'n, yftyria eu maint, a'th anheilwngdod di o honnynt, fel y b'o i fawr ymddarcftwngiad DUW tu ag attat ti, a 'th gyflwr dedwydd dy hun, gael mwy o argraph arnat.

Oddi yma hefyd y gelli ddyfgu bodlonrwydd

ymhob

ymhob cyflwr. Os nid oes gennŷt ond ychydig o dda 'r byd hwn, etto cofia fod gennyt y daioni pennaf; ac yn hynny, y mae dy gyflwr yn fwy dedwydd o lawer nâ miloedd o Bendefigion y ddaear: Yr wyt ti 'n gyfoethog mewn ffydd, ac yn etifedd i Deyrnas. Od yw 'r byd yn dy gasau etto y mae DUW yn dy garu. Bydd fodlon i'th goelbren, canys *y mae 'r llinynnau wedi syrthio i ti mewn lleodd hyfryd, y mae i ti etifeddyaeth dêg.* Nid yw dy etifeddiaeth yn gynnwysedig o bethau llygredig, eithr anllygredig, y rhai ni ddiflannant: y cyfryw bethau na ddichon y byd eu rhoddi, na'u cymmeryd. ymaith oddi wrthyt. Bendigedig y fo DUW am JESU GRIST a'i sicrwydd o'n holl etifeddiaeth ynddo ef. Iddo ef y byddo 'r gogoniant a'r llywodraeth byth bythoedd. Amen.

# DIWEDD.



# Y
# GARREG WEN
NEU
## Draethawd bychan, ymherthynas i
# SICCRWYDD.

Ymha un yr amlugir, 1. Fod siccrwydd yn gyrhaeddadwy yn y bywyd hwn. 2. siccrwydd o ba beth sydd gyrhaeddadwy. 3. yr angenrheidrwydd i ymofyn am dano, a'r budd o'i gael. 4. pa fodd i'w gael?

---

Gan TIMOTHY THOMAS.

---

Heb. 10. 22. *Nesawn (at DDUW) a chalon gywyr, mewn llawn hyder ffydd: &c.* 1 Jo. 3. 9. —— *Ac y siccrhawn ein calonnau ger ei fron ef.* Phil. 3. 10. *Os mewn un modd y galwn gyrhaeddid adgyfodiad y Meirw.* 2 Tim. 3. 16. 17. *Yr holl Scrythur, sydd wedi ei rhoddi gan ysbrydoliaeth Duw; ac sydd fuddiol i athrawiaethu —— i hyfforddi, —— fel y byddo Dyn DUW yn berffaith, &c* Dad. 2. 17. —— *Ac a roddaf iddo Garreg Wen.*

# Y RHAG-YMADRODD, at y Darllenydd mewn dwy Ran.

Rhan 1. Yr oedd sôn mawr, ymmysc proffeswyr crefydd ( o amryw enwau ) ymherthynas i sicrwydd-ffydd; o amgylch ( w'i 'n dybiaid ) tair, a phedair blynedd, ar ddêg i 'nawr: a rhai yn ei derchafu 'n fawr, ac eraill yn ei gwrthwynebu 'n fawr: yr hyn a'm cymhellodd innau; fyfyrio, 'chydig ar y peth, yn ôl y deall, a'r profiad, a roddwyd imi ac wrth ystyriaid, mi farnais fod rhai yn cilio i'r tu dehau, ac eraill i'r tuasswy allan o'r ffordd ( er bod rhai, trwy râs, yn cerdded yn y ffordd ) union. Un blaid yn debig i ddyn a fyassai yn dywedyd, nad yw plentyn bâch yn ddŷn, am nad yw yn ŵr cryf: a'r llâll, yn debig i ddyn a ddywedai, nad oes achos i ymofyn am gryfder gwŷr, ( er bod yr ysgrythur yn d'wedyd *ymdrolwch* ) os cair bod yn ddynion, bod hynny 'n ddigon, er gwanned, ac eiddiled y byddant; ïe, yn wîr, heb wybod yn jawn, a oes bywyd ynthynt? ai nid oes? A thrw yr ystyriaeth o'r pethau hyn, mi 'sgrifennais ryw bethau ( y pryd hynny ) yn llêd helaeth, mewn ffordd o Bregeth; oddi ar 2 Pet. 1. 10. heb amcanu dim, ond fy mûdd neullduol fy hun. Ond wedi i rai gwŷr da, dynunol, ei gweled; mynent imi ei hansoni i'r Argraph-wasge ond nid

# Y Rhag-ymadrodd.

nid oedd gennyf fawr fwriad y pryd hynny i wneuthur felly. Eithr wedi imi ddarllain y pethau da rhagorol, fydd ('nawr) yn y rhan flaenorol o'r llyfr hwn; mi edrychais, pa beth oeddwn innau, wedi ei 'fgryfennu, a'r y Teftyn. Ac wedi gweled (hyd ac yr wyfi 'n deall) nad oeddwn wedi 'fgryfennu, ond gwirionedd (buddiol) mi antyriais i bigo allan, y pethau ac wyf yn olygu, fod yn perthyn yn gymmwys, i'r hyn ac y driniwyd yn y rhan dd'wededig o'r llyfr: ac felly eu cyffylltu wrtho. Mi adewais yn ôl, o amgylch y trydydd o honi; yr hyn oedd yn cynnwys, agoriad y geiriau, ac amryw rannau 'r Teftyn, gydag amryw Athrawjaethau; ond yr helaethrwydd mwyaf oedd, ynghylch Galwedigaeth, ac Etholedigaeth. Mi adewais y pethau hynny yn ôl, nid am fy mod yn eu gweled, yn afiachus, nag yn anfydddiol: ond, 1. Am eu bod wedi ymhelaethu arnynt yn y rhan dd'wededig. 2. Er mwyn bod yn fyr, a chael yn gryno y pethau mwyaf perthynol i'r hyn a dd'wedwyd o'r blaen. Yr wyf yn golygu fod rhyw bethau (er hynny) ag a 'fgrifenais i, yn cwrdd, a'r pethau ag a 'fgrifenodd parchedig Awdwr y rhan gyntaf (ni wn i, na'r cyfieithydd pwy oedd, na than ba Enw 'r oedd;) etto, dewifais beidio a'u gadail heibio, gan na bydd hynny niwed i'r darllenudd; Eithr yn hytrach, mae 'n dangos ein bod ni 'n dau, wedi 'n harfogi a'r un meddwl. Mi ymhelaethais ryw 'chydig, ar rai pethau; dan yr

 yft-

yſtyriaeth, or olwg ſydd ar Grefydd, yn y dydd
jau [ drwg ] diweddaf hyn.
Rhan 2. Er fy mod yn barnu fod yr ychydig
ymadrodd, a gynhwyſir a'r y dalenau canlynol,
yn rhan o wir *Athrawjaeth yr Efengil*; etto
nid wyf yn meddwl y caiff dderbyniad gyd a
phawb; oblegid pan yr oedd ein *Harglwydd
mawr* ei hun ( ſef JESU GRIST )yn pregethu,
am rym a bywyd crefydd; llawer ( ie, a'i ddyſ-
gyblion mewn enw ) a dd'wedaſant, *Caled yw'r
ymadrodd, pwy a ddychon wrando arno.* Jo. 6.
60. A phan oedd Paul yr Apoſtol yn prege-
thu, dywedir *Mai rhai a gredaſant a rhai ni
chredaſant.* Ond y mae dau fath o bobl, yn neu-
lltuol, ac nad 'wyf yn diſgwyl iddo gael der-
byniad ganddynt; hyd oni chaffont eu cyfnewid
o'u cyflwr preſennol. Y fath gyntaf, yw 'r dyni-
on hynny, ac nad oes. ganddynt hyfrydwch
mewn dim, ond pechod: y cyfryw rai ſydd yn
aml yn y byd; ie, ac ſydd a'u holl hyfrydwch
( hyd nòd mewn pethau cyfraithlon ynddynt eu
hunain ) yn unig mewn ffordd bechadurus.
Nid wyf yn meddwl bod y cyfryw, yn eu gwe-
led hi yn *amſer cyfaddas*, i yſtyriaid, ac i ymo-
fyn am y pethau hyn. Yr ail fath yw 'r bobl
hynny, ag ſydd yn grefyddol yn UNIG mewn
*gair* ac ymofynniad; y rhai ſydd yn gofalu mwy,
am gael eu cyfrif yn dduwiol gan ddynion, nag
am fod yn wir dduwiol ger bron DUW: y rhai
ſydd ganddynt rith Duwioldeb, eithr wedi gwa-
do

# Y Rhag-ymadrodd.

du ei grym hi; y mae amryw o'r rhain hefyd yn y byd, ie, rhai nad oes ganddynt ddim hyfrydwch i (gymmhwint a) chwedleua, am rym crefydd, nag am y pethau ac sy'n perthyn, yn agos, at hynny: ac etto, ni fynant lai na chael eu cyfrif yn Dduwiol, (o boffibl,) ys amryw flynyddau. Nid yw 'r rhain chwaith yn eu gweled hi yn amser cyfaddas, &c. Ond yr wyf yn gobeithio y bydd yn dderbyniol gan y Saint, y rhai yr wyfi yn gofalu (yn ôl y cyngor) am dd'wedyd wrth fodd eu calon (ond yn unig fel Saint, a rhai wedi eu cyd-ffyrfio, a meddwl dadguddiedig DUW yn ei air) ac mi ddymynwn na byddwn i, un amser, yn offeryn, i dramcwyddo un o'r rhai lleiaf o honynt: ac hefyd yr wyf yn gobaithio, na thramcwyddant wrth yr Athrawiaeth hon; gan mai Athrawiaeth yr Efengil yw, a'u bod er budd iw Heneidiau gwerthfawr hwynt, &c. Ac hefyd; maen't hwy yn barod OLL, i dd'wedyd, *Dâ yw gair yr ARGLWYDD———ARGLWYDD, beth a fynni DI, i mi wneuthur,——Yn y fan, nid* ymgyngharais a chîg a gwaed.

Dymynaf, na roddo neb farn arno, nes yn gyntaf, edrych drosto, i gîd; gan fod yn boffibl y gellir, wrth ddarllain rhyw rannau wrthynt eu hynain, o hono, gamfyniaid fy meddwl i, ac felly gwneuthur cam a mi; ac hefyd, i'r darllenydd, golli 'r budd a amcanwyd, ac a ddymynir iddo. Ni chwanegaf, ond d'wedyd, ei fod

wedi

# Rhag-ymadrodd.

wedi ei silfaenu ar yr ysgrythurau, mor belled ac yr wyf fi yn eu deall. Ac os camsyniais mewn un rhan, neu un cymhwysiad; ni chamsyniais o'm bodd, nag o eisiau ystyriaid. Mae hefyd yn cytuno a'r pwngc am sicrwydd sydd mewn Llyfyr bychan, a elwyr Cyffes-y-ffydd; ac a'r pwngc sydd ynghatecism y Gymmanfa, ynghylch y Doniau sydd yn canlyn Cyfiawnhad, Mabwysiad, a Sancteiddiad; ac hefyd, ag agoriad Mr. Vincent arno ef. Os rhoddiff DUW ei fendith, nid wyf yn ammeu ei fuddjoldeb, er gwaeled yr offeryn.

T. T.



# Y GARREG WEN.



TU AG AT lefaru wrthych, yr hwn ag wyf yn ddymuno i fod, ( ac yn obeithio a fydd ) yn fyddiol i'ch Eneidiau ymherthynas i Siccrwydd-ffydd: mi gâf gynnig ger eich bronau y drefen ganlynol:

I. Mi gâf gynnyg ger eich bronau rai rhesfymau i brofi fod ficcrwydd yn gyrhaeddadwy yn y bywyd hwn.

II. Mi gâf offod allan ficcrwydd am bêth, fydd gyrhaeddadwy.

III. Yr wyf yn amcanu dangos i chwi yr angenrheidrwydd, i 'mofyn am dano, a'r budd fydd o' gael.

IV. Mi gâf gynnig; ychydig o gyfrwyddiadau, tu ag at fod yn feddiannol o hono.

V Mi gâf ddiweddu trwy rai cymmwyfiadau defnyddiol. ond yn

I. Mi gynnigaf rai Rhefymmau i brofi fod ficcrwydd yn gyrhaeddadwy &c.

1. Mae gwaith DUW yn gorchymmyn i ni i ymofyn am dano yn profi ei fod iw gael. oblegid nid 'wyfi 'n cofio fod Duw 'n gorchymmyn neu 'n cynghori Dynion i ymofyn am un peth, ac nad yw ef iw gael, ac oni bai fod ficrwydd iw gael, ni buafai Duw yn gorchymmyn i'r Eglwys i ymofyn am dano; nid rhaid imi fyned ymhellach

ach na'r. Testyn i brofi gwirionedd y Rheswm hyn, Yr hwn sydd yn dwedyd *gwnewch eich galwedigaeth ei'ch etholedigaeth* yn *sicr:* a gwybydded pawb hyn, fod pwy benna'g, sydd yn gwadu sicrwydd ( hyd y mae yntho ef ) yn gwneuthur gorchymmyn Duw yn ddirym. F'alleu y dwedai rhyw un mae Duw yn gorchymyn ini *wneuthur calon newydd* a ydyw hyny 'n profi fod gallu gan Ddŷn natyriol i wneuthur ei hên galon, yn galon newydd? nag yw, ond etto mae 'n profi fod calon newydd i gael, ac mae dyled dyn, yw, arfer y moddion ( sef gwrando'r gair &c) trwy ba rai y mae Duw yn gweithio ffydd ac yn rhoddi calon newydd, felly, mae gwaith Duw 'n gorchymmyn ini wneuthur ein galwedigaeth &c. yn sicr yn dangos bod sicrwydd i gael, ac mae dyledswydd dynion yw ymofyn amdani yn yr arferiad or moddion mae Duw wedi ei trefnu i'r diben hyny.

2. Mae gwaith Duw yn addo sicrwdd, yn profi fod sicrwydd iw chael. Hyn a allyr ei gasgly oddiwrth Dad. 2. 17. *mi a roddaf iddo garreg wen a ar y garreg enw newydd* [ Enw Mab, neu Ferch fabwysiadol ] *wedi ei scrifenny, yr hwn nid edwyn neb, ond yr hwn sydd yn ei dderbyn,* mi wn fod amriw farnau ar y gair hwn, o ran yr ystyr llythrenol, a chymmwysiadol o hono, ond yr wyf i barnu fod yr rhan swyaf o ddisynyddion o'r farn mae rhyddhad, ( a derbyniad fel y cyfryw, ) mae'n ddala allan; ac nad edwyn neb hyny ond y rhai fo'n cael hyny, ond etto ei bod hwy 'n derbyn yr adnabyddiaeth; ac yr wyf yn casgly oddiwrth y gair *Nad edwyn neb* &c. fod hynny yn dala allan mae yn y byd hwn, mae 'r rhyddhad ar adnabyddiaeth

ga

gan, yr edwyn pawb y rhai rhyddion, yn ol yr adgyfodiad. ac yr wyf yn tybied, nad wyf yn camfynjaid wrth ddywedyd fod y gair hwn, yn cynnwys addewid yr Arglwydd i'r Criftion diwid, o gael ei ysbryd ef, i gîd dyftiolaethu a'i ysbryd yntef, ei fod ef yn blentyn mabwyfiadol i Dduw: gwelwch Symfon ar y gair yn Wilfon's Dictionary. Ac hefyd lle mae'r Arglwydd yn d'wedyd mewn amriw fannau, *Mi fyddaf iddynt hwy yn Dduw, hwythau fyddant yn bobl imi. — Mi fyddaf iddynt hwy yn Dâd, hwythau fyddant inninneu 'n feibjon ac yn ferched &c.* ( gwêl. Ez. 49. 45. Jer. 24. 7. ar 31. 33. Ez. 11. 20. ar. 97. 23. 27. Ze. 3. 8. 2 Cor. 6. 16. ) wrth hynny, 'r wyfi 'n deall gwneuthur amlygiad mwy neullduol o hono ei hun iddynt, ac o'r berthynas fydd rhyngthynt hwy ac ef. nawr yftyriwn, os yw Duw yn addo ficrwydd y mae 'n fier ei fod iw gael, oblegid ni bû 'r Arglwydd 'n ôl o gyflawnu un addewid erioed; felly ni bu, nid yw, ac ni bydd, yr Arglwydd 'nôl o gyflawnu 'r addewid hon chwaith.

3 mae mynych waith yr ysbryd trwy 'r 'Sgrythur yn annog Dynion i holi eu hynain, yn profi fod ficrwydd i gael: oblegyd i ba ddiben y gallwn farnu bod Duw, mor fynych yn annog i'r ddyledfwydd honno, ond er mwyn iddynt adnabod ei hynain, eu bod yn eiddo Duw, a Duw yn eiddo hwyntau; megis y fath ymadroddion ar rhain *Holwch eich hunain, profwch eich hunain a ydych yn y ffydd, —— adnabod eich hunain fef bod Jefu Grift ynoch: profed pob un, ei waith ei hun, fel y caffo pob un orfoledd yntho ei hun;* &c. y fath ymadrodd fydd yn dangos imi fod ficerwydd yw gael.

 4. O

4. Oblegid bod gennym hanes am rai duwiolio[n] yn cael ſiccrwydd, ymhob oes, Heb 11. 39. pe-rhoddem ni droi 'nol yn ein meddyliau; mo[r] bell ed a'r hen fŷd, cawn weled fod rhai yn meddian-nu ſiccrwydd pryd hynny, Heb 11. 5. dwedyr, fo[d] *Enoch wedi cael tyſtiolaeth trwy ffydd cyn ei ſymmu[d] ddarfod iddo ryngu bodd Duw*, Daliwch ſylw ni[d] yn ddi gyfrwng, ond *trwy ffydd*; Diamau hefy[d] fod ſicrwydd, gan *Abraham*, *Iſaac*, *Jacob a Joſeph* *a chan Moſes*, *Aaron*, *Joſua*, *Dafydd*, *a Samuel*, *chan* lawer eraill yn yr oesoedd hynny: Job hefy[d] a ddwedau, *Mi a wn*, *fod fy Mhrynwr yn [fyw]* —— &c. Jôb 19. 25 26. 27. llawer eraill, elly[d] fôn am danynt, Mair a ddwedodd *fod eu henaid* [y] *mawrhau 'r ARGLWYDD*, ai *hyſbryd yn llawe[n]hau yn Nuw ei hiachawdwr* Luc. 1. 46. 47. Pa[ul] hefyd fŷdd yn amlygu eu ſicciwydd yn 2 Cor. [5.] or dechreu hyd y 9fed adnod; —— Fe allau, dwedai rhyw un, mae ymherſon plant DUW [yr] oedd efe 'n dwedyd, ond yſtyriwch, canys yn ymherſon pwy yr oedd efe 'n dwedyd, yr oedd [y n] llefaru ymherſon rhai wedi derbyn ſiccrwyd[d] (neu dyſtiolaeth yr yſbryd ) gwêl adnod y 5. ac yſtyriwn le arall, ſef 2 Tim. 1. 12. lle y dyw[ed] yr Apoſtol *y gwyddai i bwy credodd* gwêl hefy[d] 1 Cor. 9. 26 2 Tim. 4. 7. 8. Peter hefyd ſydd [y n] cadarnhau 'r un peth, ac Joan. 1 Jo. 3. 1. 2. amriw leoedd eraill, a phe daliem ni ſylw ar holl *gwmmwl o Dyſtion*, *ſydd wedi myn'd o'r bla[en]* ni gaem weled bôd y rhan ſwyaf o honynt, a tueddiad am, a'u gafel yn, y grâs cyſſurus hwn ſiccrwydd, yr hyn a ddengis yn amlwg, mae pe[th] cyrhaeddadwy yn y bywyd hwn, ydyw. ond me[dd] rhyw un, A ydyw 'n gy

gyrhaeddadwy i bob Cristion? ac a oes dim gristion, lle nad yw? *At.* Yr wyf yn barnu fod pob Cristion yn feddianol o wîr ffydd, a bôd ficcrwydd yn briodol i gynnydd ffydd, ond nid i hanfod ffydd, ac yr wyf yn barnu bod graddau, neu gynnydd, yn briodol i ficcrwydd ffydd hefyd, gan fod yr ysgruthur yn fôn, am lawn ficcrwydd, Heb. 6. 11 a'r 10. 22. 2 Pet 3. 17 18. ac nid wyf yn ammeu na all rhai gwir gristnogion fod yn debig i ddyn â llygaid gweinion yr hwn, pan b'o 'r tywydd yn dêg, ac yn dawel, a wêl yn ô eglur, ond pan dêl y gwynt ar gwlaw i chwythu yn ei erbyn, ni wêl fawr, ac weithiau, yn methu agor ei lygaid i weled dim; felly 'r cristion gwan a wêl a'r brydiau ( megis mewn niwl ) ei Enw wedi ei 'fgrifennu yn *llyfyr y bywyd* ac a farnyff fod grâs yntho, a bod gan DDUW gariad atto; ond pan dêl awelon profedigaethau, a ffrwd llygredigaethau, yn gryf yn ei erbyn, fe fydd yn colli'r olwg hyn, ac yn barnu ( neu o'r hyn lleiaf yn ofni ) bod yr Arglwydd wedi ei adel ef, ac yn ofni na bu ef, wîr dduwiol erioed &c ond yr wyf yn barnu na ddylai neb, fodloni i'r, na gorphwys yn, y fâth gyflwr a hwn.

II I ddangos ficcrwydd o beth fydd iw gael yn y bywyd hwn.

1 Siccrwydd, o'n galwedigaeth effeithiol, neu, o'n cyfnewidiad, o gyflwr natyr, i gyflwr grâs, o gyflwr melldigedig, i gyflwr bendigedig, a'u dwyn o feddiant fattan at DDUW, ac o fod yn etifeddion Damnedigaeth, yn etifeddion Jechydwrjaeth, a gogoniant. 2 Tim. 1. 9. 1 Tim. 1. 13. 14. 15. 16 Gal. 1. 15. Rhy. 9. 24. Eph 2. 3. 4. 5. 6. Tit. 3. 3. 4. 5. 6. 7. 2 pet

1. 3. darllenwch y sgrythurau hyn, a chydma-
rwch hwynt. ——— y mae 'r Saint, wrth gyd-
maru en cyflwr presenol a'u cyflwr o'r blaen yn
dysod i farnu eu bod wedi cyfnewid, o ran yr eg-
wyddor oddiar ba un yr oeddent yn gweithio, a'u
Diben. cyfnewid eu Harglwydd, cyfnewid eu
gwaith, cyfnewid yr ewyllys, ( o ran y sancteidd-
rwydd, a'r gwrthrych, a chyfnewid, swyaf, bob
peth, fel y dywed yr Apostol *yr hên bethau aeth-
ant heibio gwnaethpwyd pob peth yn newydd.*

2 Mae siccrwydd yn gyrhaeddadwy i'r diwiol o
fod Crist wedi marw trosto ef yn bersonol, a bod
ei bechod efe yn cael ei gyfri i GRIST, 1 Thes 5.
9. 10 Rhy. 8. 2. 1 Tim. 1. 15. ac hefyd ei fod
ef yn cael ei gymmodi a DUW trwy GRIST, 2
cor. 5. 18. y mae 'r fath beth, Enaid anwyl, a
bod Dynion yn canfod ( trwy ffydd ) bod eu pe-
chodau hwy ar GRIST, pan yr oedd efe ar y
groes, a bod DUW wedi cael ei fodloni 'n gyf-
lawn, am eu holl ddyled hwy; a'u bod yn cael
eu jachau trwy gleisiau GRIST, a bod eu han-
wireddau nhwy i gyd wedi ei rhoddi arno efe
Esau 53. 5. 6. maent yn dysod i gredu bod
DUW. yn edrych arnynt ( mewn ystyriaeth )
fel pe baent heb wneuthur pechod erioed, nid am
nad yw DUW, yn gweled, pechod ynthynt (ac
angenrheidrwydd o Sancteiddiad, ond am gyfian-
had yr wyf 'nawr yn d'wedyd ei bod yn rhydd
oddi wrth bechod ( ond am nad yw 'r Arglwydd
yn cyfri pechod iddynt. 2 cor. 5. 19. gall y rhai
farnu fod colyn angau 'n rhy laith i wneuthur
niwed iw heneidiau hwy, ac y cant hwy ddigon
o râs trwy GRIST i farwhau eu llygredigaethau

ac i fyned ymlaen trwy bob cyfyngder a pharau'n ffyddlon hyd y diwedd, gallant ganfod holl addewidion DUW iddynt hwy yn ïe, ac yn Amen trwy GRIST; ac mae 'r amser yn dyfod, ac y gallant ddwedyd (fel Josua Jos. 21. 45.) ni phallodd dim o'r holl bethau da, lefarodd DUW, am danom daeth y cwbl i ben.

3. Mae Sicrwydd i gael, o'n bod a'n henwau wedi eu 'sgrifennu yn llyfr y bywyd, neu 'n bod yn Etholedig, er Tragwyddoldeb. 2 Pet. 1. 10. a bod DUW 'r Tâd wedi 'n rhoddi i'r Mâb yn y Cyfammod, Tragwyddol, a'r Mâb yn gwneuthur derbyniad o honom, ac felly fod yno Gidsyniad, a Diogeliad Cyfammodol wedi e'u gwneuthur ar ein rhan ni: ar gyfrif i GRIST gyflawnu ammodau 'r Cyfammod hwnnw, ( yr hyn a wnaeth efe yn ei ufydd-dod Gweithredol, a Dioddefol. ) Eph. 1. 4. 2 Tim. 1. 9 1 Thess. 5. 7. 2. Sam. 23. 5.—Eneidiau gwerfawr, y mae 'r fath beth a bod y Saint yn dyfod i wybod fod cariad gan DDUW attynt yn Nhragwyddoldeb, a bod Cydundeb, Tragwyddoldeb, tu ag at eu dwyn o'u trieni, mewn amser; hyn sy'n llanw 'r Enaid o dymmer ddiolchgar; ar ystyriaeth o hono, sy'n ei gyrhyrfu i glodfori DUW, o'r galon, ( mae 'n bossibl, ) y d'wedeu rhyw un, mae'r trydydd peth hyn a ddylassai fod yn gyntaf o'r tri,— Mewn, mae Etholedigaeth sy'n ( cael ei gyfri 'n ) gyntaf, mewn trefn gyda DUW; ond etto y mae, 'r peth diwethaf, o'r tri, ac mai 'r diwiol yn dyfod iw weled, mewn trefn i wneuthur cymhwysiad cyssurus o hono ef at ei Enaid ei hun.

4. Mae sicrwydd, (i'r Diwiol ) yn gyrhaeddadwy yn y bywyd hwn, y caiff ef, yn y byd y ddaw, swynhau cyfeillach yr Arglwydd, yn ogoneddus mewn gogoniant, Phil. 3. 20. 21. 1 Jo. 3. 2. 2 Tim. 4. 8. Mae DUW, wedi addo hynny iddynt; mae'nt hwythau, yn credu y cânt hwy hynny, ac 'fe debygid, i fod yr Apostol Paul yn dywedyd, gyda messur o alar; *Mae wrth ffydd yr oedd efe yn rhodio, ac nid wrth olwg.* Cor. 5. 7. Megis pe buasau 'n d'wedud, yr wyf yn credu, ac yn gwybod y câf gyfeillachu a'r ARGLWYDD, wyneb yn wyneb, a chartrefu gydag ef; ond O! yr wyf yn gweled yr amser yn hîr ymma: oblegid fy mod yn gwybod i fod, yno le a chyfeillion rhagorol: a finneu yn methu eu gweled, ond trwy ffydd: mae'n d'wyd yn Phil. 1. 23. *Fod arno chwant i ymddattod, ac i fod gyd a CHRIST, canys ( ebe 'fe ) llawer jawn gwell ydyw*; yr oedd y Cristjon cryf hwn, yn gweled trwy ffydd, fod yr amser yn dyfod, pryd y cai efe fod gyd â Christ, *ac adnabod megis ac yr adwainid ef*; *a gweled yr ARGLWYDD megis ac y mae,—wyneb yn wyneb*; er nad yw 'nawr yn gweled, *ond mewn rhan, megis mewn Drych.* 1 Cor. 13 12. 1 Jo. 3. 1. 2.——Mae'n gyssurus jawn, i'r Saint i feddwl fod ganddynt râs a'u bod wedi, eu gwared, o dan felldith y Ddeddf. Ac yn meddianu cyssuron yr YSBRYD yn *eu hamrîw brofedigaethau &c.* Ond o! pa faint o gyssur y'w iddynt feddwl, eu bod yn sicr y cant eu gwared o'u profedigaethau, a'u gorthrymderau, a'u llygredigaethau, a bod *gyd à CHRIST* fyth heb gwmmwl

mwl; yn derbyn disglair, beladerau Haul y Cyfiawnder. Enaid anwyl, ystyria 'r pethau hyn, a gwna 'r defnydd goreu o honynt; ac nid eu gollwng hwynt heibïo fel peth gwâg, ac ofer; oblegid, nid gwâg ydynt, i'r hwn sydd a ffydd gantho ( er nad yw ei ffydd ond gwan ) oblegid, fe wnaiff ffydd riw ddefnudd da o bob gwirjonedd. &c. Llawer o bethau eraill ( yn amgylchjadol ) a ellid sôn am danynt, y ffordd hon, ond yr wyf yn gobeithio, y gwasnaetha hyn yn bresennol. gan hyny mi af ymlaen at y peth arall ac a addewais i; fef yn

III. I osod allan mae peth angenrheidiol, i ymofyn am dano, yw Sicrwydd o'r pethau uchod; a hynny a welwn i, yn.

1. Os ystyriwni, na ŵyr Dyn, tra fyddo heb Sicrwydd ei fod yn Ddyn grasol, ac yn bleityn i DDUW. &c Pa un, a'i gyd â bendith, a chyd â melldith, y mae 'n derbyn y Trugareddau, a'r breintiau cyffredinol, mae 'n fwynhau;—Mae'n amlwg wrth amriw o 'fgrythurau ( megis Mal. 22. Deu. 28. ) i fod pob peth ac sydd gan yr Anniwiol dan felldith DUW; ac hyd oni wybyddo 'r Duwiol, ei fod yn Dduwiol ( ac nid yn Annuwiol ) ni all efe ddim wybod nad felly y mae gydag yntef: a thra b'o yn pettrusso, ynghylch y peth hyn ( fef, pa un a bendith, a melldith &c. ni all gael fawr o gyssur, oddiwrth yr ystyriaeth, a'u bod yn eiddo ef: 'nawr, pan fyddo 'r Dyn yn meddwl fod y cyfan o feddiant, ac ymarferjad yr Annuwiol, ïe, ei Gorph a'i Enaid, ei Fwyd, ei Ddiod, a'i Ddillad &c. dan felldith yr ARGLWYDD, o fe fydd hyn yn peri i'r

Cristion gwan i frawychu, ac arswydo; a hyny, achos nad yw 'n Sicr ei fod yn blentyn i DDUW ac yn ganlynol, ni all efe ddim fod yn Sicr na' dymma 'i Cyflwr mae efe yntho; a phan mae ' bwyta ei Fwyd, ni all fod yn Sicr nad yw' bwyta melldith gydag ef, a phan bo 'n yfed, all fod yn Sicr nad yw 'n yfed melldith gyda ddiod, pan bo 'n gwisgo i ddillad. ni wyr na yw, yn gwisgo melldith yr ARGLWYDD gy da ei ddillad am dano, pa'n b'o 'n gweddio, wyr nad yw ei weddi 'n bechod ac yn ffiaid ( gan fod gweddi i'r annuwiol, felly, Dih. 28 9 Pf. 109. 7. Dih. 21. 7. ) A phan bo' gwrando nid yw 'n Sicr nad yw 'r gair yn arog marwolaeth i farwolaeth iddo; pan bo 'n gwei thio yn y maes, ni wyr nad yw ei holl wait yn bechod. Dih. 21. 4. Ond falleu y gall rhyw un wrthddadlu a dweud, mae nid felly mae on bod y cristion gwan, mewn llawer gwell cyflw na hyn: ond yr wyf inneu yn methu Deall, p fodd y gall un dyn feddwl, fod gan Ddyn fwy Sicrwydd, neu wybodaeth, nad yw ef a'i fedd jant, ac hefyd 'i arferiad; dan felldith yr AR GLWYDD, nag a fyddo gantho, o Sicrwyd ei fod yn Ddyn Duwiol &c. ( Daliwch fylw nid wyf fi ddim yn dweud fod y Cristion gwan pan mae yn y Cyflwr amheus hyn, dan felldit DUW; ond nad yw efe ddim yn Sicr nad y efe felly; ac er fod pob cristion ( can's pwy mo wan y bo ) dan felldith DUW; etto, pan y b heb wybod hynny, ni all efe ddim Sygno, ( ne gymmeryd ) fawr, neu ddim, fwy o gyffur cymmwysiadol, oddi wrth hynny, na phe bydd

ci

eu efe heb fod, yr wyfi 'n barnu fod y peth hyn; yn dangos yn amlwg yr angenrheidrwydd o Sicrwydd, neu i Ddyn ymotyn am wybodaeth o'i fod yn blentyn i Dduw &c. Ac nid hynny'n unig ond hefyd yn Annogaeth fawr i Ddynion i fod yn ddiwid, i lafyrio am hynny. Bydded yr ystyriaeth or peth uchod hefyd yn Annogaeth i Chwi 'r Annuwolion i ystyriaid eich ffyrdd, a'ch cyflyrau, *O meddyliwch am eich ffyrdd a Dychwelwch at yr ARGLWYDD*, beth y dâl i chwi bentyru Aur, ac Arian, a bod eu rhwd hwy 'n cwnny yn eich erbyn chwi Ddydd y farn Jago. 5. 3. Beth y dâl i chwi twyrhau 'r pleser, hyn, a'r plesser arall, a bod melldith DUW ar y cwbwl: oni welwch eich trueni mewn pryd, chwi a'i gwelwch pan y b'o hi 'n rhy ddiweddar, a hynny er eich gofid a'ch galar Tragwyddol. Nid ymhelaethaf yn y ffordd hon, ond af ymlaen; at yr

2. Peth, fef, mae Sicrwydd yn angenrheidiol, os ystyriwn i na all y Cristion, ddiolch i DDUW ( mewn ffydd ) am Rás, a hawl yng NGHRIST, &c. Oni fydd efe 'n gwybod ei fod ef wedi cael hynny: oblegid, pa fath ddiolch, a all un 'i roddi am beth, ag na wyr efe pa un a wnaeth efe a'i dderbyn ef, a'i nid do; ac os derbyniest râs, mae'n bechod iti beidio a Diolch am dano, canys gorchymmyn DUW, yw inni i *fod yn Ddiolchgar* am bob peth, ac a dderbyniom oddiwrtho ef. Eph. 5. 20. O Enaid, a dderbyniaist i rodd mor fawr, ac yw grâs, i gynnes'd dy Enaid di? a roddodd CRIST ei waed di'ma, a gefaisti, dy rydchau oddi wrth dy holl ddyledi,

a faddeuwyd iti dy holl bechodau, ac a ddiolchi di ddim i DDUW am hynny? a pha ſodd y diolchi, oni wyddoſt fod hynny 'n bod? ac os diolchi, am iti gael peth, ac na wyddoſt iti ei gael, ni bydd y ſâth Ddiolchgarwch yn weithred o ffŷdd, ac mae'r 'ſgrythur yn dwe'yd, am ba *beth benna ag nad yw o ffydd, mai pechod yw*, Rhy. 14. 23. Onid yw hyn, yn dangos yn amlwg yr angenrheidrwydd o Sicrwydd? ——Yſtyriwch ſod rhyw un, yn ceiſio rhyw rôdd, gan un arall; gan ddymuno arno, ei adel mewn rhyw lê, neu ei roddi i ryw un o'i Dylwyth ef; ac a'r ôl hynny fod y Dyn, yn cyfarfod ar hwn y ceiſiodd eſe 'r cymmwynas gantho, heb wybod pa un a wnaeth efe, a chyflawnu ei ddymyniad ef ai peidio? yn awr, eſe ſydd yn meddwl, os gwnaeth y gŵr y cymmwynas ( yn enwedig os bydd yn ŵr mawr ) mae 'n fai ynoſ i beidio a Diolch iddo am ei gymmwynas; ac os na wnaeth eſe ef, nid yw ddim yn jawn imi (ac fe allai y ſiomai 'r gŵr, am imi ) Ddiolch am y peth ni wnaeth efe, ac am hynny efe ſydd y cyfryw yn ei wel'd ei hun, dan angenrheidrwydd o gael Sicrwydd or peth: felly ninneu, os cawſom râs &c. Nid yw gymmwys ini beidio a Diolch am dano, ond y mae yn rhyfig i Ddyn dirâs, ac annuwiol, i Ddiolch am ei ſod ef yn Dduwiol, &c. 'nawr, tebygid fod hyn yn eglur yn dangos, yr angenrheidrwydd ini, i arſer y moddion tu ag at wybod ein Cyflwr, ein bod yn eiddo Duw, fel y gallom Ddiolch iddo ( mewn ffydd) am freintiau mor fawr: Oblegid, oni's gwyddom ini gael, chwaneg na 'r moddion, pa fodd

y

y diolchwn i am chwaneg, &c. Ond wedi cael Sicrwydd, ni a allwn yn galonnog, Ddiolch i DDUW, am foddion grâs, a bendith arnynt, a chyfnewidiad grasol i'n Heneidiau trwyddynt, a dywedyd gyda Jago, mai *O'i wir Ewyllys. yr enilloedd efe ni trwy Air y gwirionedd*; a Diolch hefyd am GRIST i'n prynu, *trwy ei werthfawr waed*, ac am gariad tragwyddol DUW, tu ag attom, a'i ofal cynnar, am danom, ac am Gyssuron yr Efengil, yr addewidion gwerthfawr, a gobaith gogoniant; gallwn hefyd, ganmol ein Tâd am freintiau 'r bywyd hwn, gan eu bod yn Rhoddion Tadol, gyda bendith, er cynnorthwy ini yn ein pererindod, ac yn enwedig bod gennym addewid, y cuiff *pob peth gyd weithio er Daioni ini*; gwelwn meddaf, mor fyddiol ac angenrheidiol, yw Sicrwydd: ystyriwn etto, pwy fâth galon a all fod gan un i geisio rhyw beth, gan un ( a chan arall i roddi ) pan na ddiolchodd am yr hyn a gafas eisioes; felly ninneu, pa fodd yr ydym yn ceisio pethau gan DDUW, o bryd i bryd, ac heb ddiolch, am yr hyn a gawsom? Cofiwch Eiriau CRIST, am y rhai y gwnaeth efe gymmwynas iddint; *Oni lanhawyd y dêg? pa le mae'r naw, ni chaed, a Ddychwelassant, i roddi 'r Gogoniant* ( neu i ddiolch ) *i DDUW, ond yr estron hwn.* Luc. 17. 17. 18. Gochelwn fod DUW 'n dwe'yd am danom ninneu, Mi roddais iddynt freintiau mawr, ond pa le maent? pa ham na welir hwynt yn dyfod i roddi'r gogoniant i DDUW am danynt? ——— Gwir yw, Enaid, mai rhodd DUW, yw 'r breintiau cyffredinol sydd gennym, megis Bywyd,

wyd, Rhydd-did, Jechyd, Bwyd, a Dillad, &c. A bod yn ddyled arnom, Ddiolch iddo am danynt, ac am y budd ydym yn ei dderbyn trwyddynt ( er na bo gennym Sicrwydd ) fel i DDUW Trugarog, hwyrfrydig ei Ddig, &c. Ond nis gallwn ddiolch iddo, fel i'n Tad, am roddion tadol, hyd oni wyddom ei fod ef yn Dad ini yng NGHRIST, gall ( o bossibl hefyd ) y Cristion gwan, Ddiolch am foddion grâs, ac am, gynhyrfiadau cyffredinol, yr YSPRYD. Oblegid gwyr fod hynny gantho, ) er na all ddwefyd, beth fydd y Diwedd, ) ond, fe wyr y Rhagrefithiwr fod hynny gantho hefyd, ac oni's gwyr efe; y maent, gan amriw o honynt—— Heb. 6. 4. 5. 6. Ond y mae gan y Cristion gwanna fwy, na hynny; gan hynny efe ddylai ymofyn am wybodaeth o hynny, fel y gallo'n ganlynol, ganmol DUW am dano: —— Na thybied plant gweinion DUW, fy mod i wrth y pethau hyn, yn amcanu eu gwan galoni hwy, neu eu bwrw lawr i gyflwr diobaith; O Frodyr, a Chwiorydd anwyl, nag ydwyf, nag ydwyf: ond eich annog yr wyf, i ddefnyddio 'r moddion, a'r grasusau fydd gennych, fel y byddoch gyfrannog o fwy o gyssur, ac y byddo i ffordd yr ARGLWYDD gael eu harddu gennych, ac y caffo efe 'r anrhydedd, dyledus iddo am ei râs: Ond, Dychryned y Dynion Claear Diofal —— yn

3. Mae Sierwydd yn angenrheidiol os ystyriwn i 'r bûdd mawr fydd o'i gael, ar Breintiau mawr fydd yn ei ganlyn, neu 'nglŷn wrtho; y rhai, ni ellir ( yn jawn ) eu mwynhau hebddo; megis, yn

1. Pan

1: Pan y mae Dyn, trwy fod YSBRYD DUW yn cyd-dyſtiolaethu a'i YSBRYD ef, (ſydd trwy ffydd yn gwir gredu, ac) yn gwybod ei fod ef yn blentyn i DDUW, a bod ei bechodau wedi eu maddeu, a'i anwireddau wedi eu cyddio; &c. Yna mae ef, yn dyfod i feddiannu heddwch tu ag at DDUW yn ei Enaid, a hynny trwy 'n HARGLWYDD JESU GRIST. Rhuf. 5. 1. Er fod y criſtion mewn cyflwr o gymmod, a heddwch a DUW [ïe, â chyfiawnder, ac â chyfraith DUW!] y pryd cyntaf ag y mae efe, yn gorphwys trwy ffydd ar JESU GRIST, yn wirioneddol, am iechydwriaeth: etto, nid yw efe yn dyfod yn feddiannol o'r profiad tangnefeddus o hynny, ynddo ei hun, ond yn ôl graddau, a meſſur, y Dyſtiolaeth ſydd ganddo yn ei Enaid; o fod ei bechodau 'fe, wedi eu maddeu, ac o'i fod ef mewn cymmod a DUW trwy GRIST: ond pan y mae yn ſicr, o fod eu bechodau, a'u anwireddau wedi eu goſſod *i gid* a'r GRIST; ac felly, y DUW cyfiawn yn edrych arno, yn Ddyn rhydd o'i holl ddyled, ac mor fodlon iddo, (ar gyfrif ufydd-dod ei Fab) a phe buaſſai heb wneuthur pechod erioed; ac hefyd yſpryd mabwyſiad (trwy ei Dyſtiolaeth) yn Sicrhau iddo ei fod ef, yn blentyn, ac yn Etifedd i DDUW, ïe, cyd-Etifedd a JESU GRIST: yna, mae'n dyfod yn feddiannol, o'r fath heddwch rhwng ei Enaid a DUW, ïe, meddaf y fath dangnefeddyf profiadol ac ſydd yn anrhaethadwy: gallir ei alw ef ('nawr) yn gyfaill heddychol, a DUW, gall edrych a'r gyfiawnder, a Sancteiddrwydd DUW, ac (er ei fod ef yn

bechadur

pechadur mawr ) etto, feddiannu heddwch yn ei Enaid tu ag at y DUW cyfiawn, a Sancteidd hwnnw; gall edrych ar berffaith ddrwydd, a mandl-rwydd [ ac hefyd ar felldithion ] y gyfraith; ac ar yr un pryd, feddiannu tangneddyf yn ei Enaid; gan fod CRIST wedi myned dan y felldith, yn ei le ef, a dwyn i mewn gyfiawnder ( ac felly heddwch ) Tragwyddol iddo: y mae 'r gwir heddwch hwn yn dwyn i mewn, y fath dawelwch, bodlonrwydd, a llawenydd i'r Enaid, ag na ellir cael geiriau, iw gossod allan! ac mae 'n gwahanu ymhell, oddiwrth y diddarbodrwydd cnawdol sydd yn y proffeswr ffyrnol —

O mor werthfawr yw 'r heddwch hwn, i'r Dyn sydd wedi bod dan anesmwythder, oblegid cyd-wybod euog, ac ( yn eglur ) wedi gweled maw-redd ei bechod, fel y mae, yn erbyn Perffaith gy-fiawnder DUW; ie, i'r Dyn sydd wedi dwyn ystyriaid mawredd melldithion y gyfraith, yn er-byn pechadurlaid, ac (ymysc eraill ) yn ei erbyn ef yn bersonol: Fe fydd yr heddwch hwn fwy o fodlonrwydd i Enaid y cyfryw un, mewn un Diwrnod, nag a all holl bleserau 'r byd i roddi ( pe byddau bossibl eu mwynhau ) dros Dra-gwyddoldeb, a chan fod y fath fraint yn can-lyn Sicrwydd, oni welwchwi ei fod yn fuddiol; ac yn beth angenrheidiol, i ymofyn am dano!

2 Fe all Dyn, yn ol cael sicrwydd ei fod yn blen-tyn i DDUW, a bod Crist wedi ei roddi 'n jawn drosto, fyned yn hu at bob rhoddion, mai 'n dder-byn oddiwrth Dduw fel pethau wedi eu rhoddi gan Dduw iddo ef, fel iw blentyn; Rhy. 8. 32. gall

meddaf

meddaf edrych ar ei fwyd a'i Ddillad, a breintiau natyriol eraill, yn rhoddion, tadol, a barnu fod, hyd yn oed, gwallt ei ben wedi ei gyfrif gan ei Dâd. Mat. 10. 30. gall edrych ar Air DUW, fel y mae wedi ei anfon gan ei Dâd iw gyfarwyddo, a'i gysuro ef ar y ffordd tu a'i artref tragwydol, ac ar ordinhadau 'r Efengl, (yn enwedig Swpper yr ARGLWYDD,)yn wlêdd, yr hon mae ei Dâd wedi ei hanfon iw lonni ef ar y ffordd; ac ar yr angylion fel gweifion, wedi eu hanfon i weini iddo, tra mae ar ei Daith: gall fynd i weddio fel un yn myn'd i ymddiddan a'i Dâd; myn'd i wrando, fel un yn gwrando beth fydd gan ei Dâd i dd'we'yd wrtho; Ie, gall edrych arno ei hun, yn un o'r Praidd bychan ac y dwedodd Crist wrthynt, Nag ofnwch canys rhyngodd bôdd i'ch Tâd roddi i chwi Deyrnas, Luc. 12 32, dywed y gair, fod pob peth yn eiddo yr Saint a hwythau 'n eiddo CRIST a CHRIST yn eiddo DUW.

3 Braint arall fy'n canlyn ficrwydd yw hyn, fe all yr hwn fo'n feddiannol o honi fod yn gyffurus yn y gorthrymderau mwyaf fel yr amlyga 'r Apostol Paul (Rhf. 5. 1, 2. 3. 4. 5.) ac eraill: yn wir mae llawer, o orthrymmu, erlid, a dybrifio ar blant Duw yn y bŷd hwn,( rhai fwy rhai lai) ac maent dan angenrheidrwydd, i wybod eu cyflwr, a'u hachos, Dwedir, am bwy *bynnag ewyllyfio fyw 'n Dduwiol, yr Erlidir ef.* 2 Tim. 3. 12. ac mae 'n feffur o ofyd gan natyr Dyn; i ddioddef (hyd yn oed) mewn gair oni fydd y dyn, yn gwybod yn achos pwy y bydd efe 'n dioddef; — beth oedd yr achos fod y Saint gynt; yn cymmeryd eu hyfpeilio am y pethau oedd ganthynt yn llawen?

ond oblegid eu bod yn [ *gwybod*] *fod ganthynt o'u gwell yn y nefoedd, ac un parhaus*, Heb. 10. 34 pe byaſſent heb wybod fod ganthynt olyd gwe yn y Nefoedd, tybygid na byaſſent mor *llawen*, ( nad wyf yn dwe'yd mai hyn oedd unig achos e llawenydd; eglur yw fod, 'r wybodaeth hynny ' un achos mawr o hono) dwedir hefyd am Bedr a Joan, *Iddynt fyned allan o wydd y cyngor yn llawe am ei cyfrif yn deilwng i ddioddef am, enw yr enw'r Jeſu* Act 5. 41. tybygid ei bod yr meddw yn *flaſſus* am y cariad oedd gan yr JESU attyn pan rhoddodd ef ei Einioes lawr trostyn; gallaſen fod yn meddwl fel hyn, fe ddioddefodd Crist law er troſſom ni, 'ry'm ninneu 'n cael lle i ddiodd chydig drosto yntef, os ydym yn dioddef, yr y yn gwneuthur hynny dros y cyfaill ar wylaf, ac leddcm, *yr hwn a ddioddefodd troſſom, i'n rhyddhau oddiwrth felldith y ddeddf a l igofaint tra gwyddol DUW*; ac ymhellach, beth odd y r ach fod y merthyron Duwiol gynt? mor dd oddefga mewn cyſtydd, a than ganu'n myn'd at y Tân gael eu llosgi, ie 'n myned i'r Tân, ac yn diodd ef yn y Tân yn llawen? ( gyda mwy o lawenyd nag oedd gan y rhai oedd yn eu bwrw hwyn iddo ) ond y cariad oedd ganthynt at GRIST a'u bod yn credu nad oedd y Tân hwnnw, on moddion i'w rhyddhau o'u llygredigaethau: a hefyd, eu bod yn myned at ei Harglwydd, mo gynted, ie'n gynt nag y difau'r tân eu cyrph hwy Felly deued y gorthrymderau a doelo arn ninneu; os byddwn yn *ſicr*, ein bod yn blai t Dduw, &c. ni allwn fod yn gyſſurus er hynny gan farnu fod rhydd-did i'w, gael ryw bryd; a

y

y caiff pob gorthrymder gyd weithio er daioni ini, er ein cymhwyso, *i ogoneddu* DUW yma, ac i gael ein gogoneddu gydag ef yn ôl hyn: ond pan y byddom yn llawn ofnau, amheuon, ac anghredíniaeth; yn cyfarfod, a chroesau, a gorthrymderau; ni's gallwn lawenhau ynthynt; ond o'r tu arall; meddyliau galarus, trymaidd, a'n cymmer i fyny 'n fynych, megis fel hyn; O! y mae 'n ofidus arnaf yn y Bŷd hwn, ac nid wyf Sicr na bŷdd fy ngofid i; lawer yn fwy yn y Bŷd arall, &c. &c. A Llawer o feddyliau blinion gyda hynny, y rhai fŷdd yn chwanegu 'n gofid, yn fawr: eithr y Duwiol *Sicr* all dd'wedyd, Os wyf 'nawr mewn blinder, blinder y dderfydd yw efe; ond cyn y bo hir, mi fyddaf mewn llawnder, a llawenydd na dderfydd byth; *Nid yw fy myrr ysgafn gystydd i, yn haeddu ei gyffelyby i'r gogoniant a ddadguddir imi ar fyrder.* Rhy. 8. 18. 1 Pet. 1. 6. Hyn hefyd a ddengis yr angenrheidrwydd o Sicrwydd, ac hefyd fydd yn rho'i Annogaeth mawr i ymofyn am dano.— ond yn

4. Braint arall, fydd yn canlyn Sicrwydd, ( neu ynglŷn wrtho ) ac hefyd fydd yn dangos yr angenrheidrwydd o hono; ac yn Annogaeth i ymofyn ac i lafyrio am dano; yw hyn, fef, Fe all y rhai fo 'n feddiannol or fath rôdd o ffŷdd fyned yn hyderus yn erbyn wyneb eu Gelynion; i Ryfela a hwynt. Gan eu bod yn gwybod eu bod yn blant i DDUW, gallant fod yn hyderus y bŷdd DUW droftynt; ac ( mêdd yr Apostol ) *Os yw DUW trossom pwy all fod i'n herbyn* Rhu. 8. 31. can's diau fod gan y Cristion lawer o

Elynion i Ryfela yn eu herbyn ac na's gall efe byth, eu gorchfygu hwy o hono ei hun, mae 'i hên gyfeillion, 'nawr wedi myn'd yn Elynion iddo, mae'r Bŷd yn Elyn iddo, ac felly 'r cnawd hefyd, ie, mae holl Lŷ Uffern yn ei erbyn; ac mae llawer ffordd ddichellgar gan Satan i ryfela yn ei erbyn, weithiau trwy gynhyrfu ei galon ef, ar ôl y Bŷd yn ormod, neu brŷd arall, ar ôl *chwantau cnawdol, y rhai sydd yn Rhyfela yn erbyn yr Enaid*; mae Satan weithiau 'n ceisio llanw ei galon o feddyliau gwâg, ac ofer, y rhai nad ydynt o ddim Silwedd; ond yn unig, yn cadw llê meddyliau dâ, mae hefyd yn ceisio ei demptio, a meddyliau halogedig, ac ( weithiau ) a meddyliau cablaidd, sef picellau tanllyd y fâll; *nid yn erbyn gwaed, a chnawd, y mae* ymdrech y Duwiol; *ond yn erbyn, Tywysogaethau, yn erbyn Awdyrdodau*, yn *erbyn Bydol Liwiawdwyr, Tywyllwch y Bŷd hwn; ac yn erbyn Drygau Ysbrydol, yn y Nefolion Leoedd. – &c.* Eph. 6. 12. Ac oni bŷdd gantho, hyder, o fod ganddo ryw un cryf, ( neb llai na DUW, ) ar ei ran ef: wrth fyned yn wyneb y fâth Dorf o Elynion Cryfion, Creulon; ni bŷdd gantho, ond calon wan, a dychrynedig, i feddwl Rhyfela a hwynt; can's fe wyr mai colli 'r Dŷdd a wnaiff; oni chaiff gynhorthwy, ac oni bŷdd ganddo hyder, ei fod yn blentyn i DDUW; ni all fod gantho ddim *jawn* hyder y caiff ef, Nerth gan DDUW i Ryfela yn erbyn ei Elynion, ac iw gorchfygu hwynt; ond pan b'o ganddo *Sicrwydd*: gall hefyd fod yn *Sicr*, na adawiff DUW eu blentyn yn llaw eu Elynion, Psal. 3. 7. ar 9. 3. ar 18. 48, 1 Cor.

1 Cor. 10. 13. gall hefyd fod yn gyffurus yng-hanol ei Elynion Cryfion, pan y b'o 'n gwybod fod DUW gydag ef, Psal. 23. 4. ar 138. 7. Hyn hefyd, a ddengis, yr angenrheidrwydd o Sicrwydd gan mor fyddiol yw: ac etto yn

5. Braint sydd yn canlyn *Sicrwydd* yw hyn, Fe all ei pherchen edrych yn gyffurus yn wyneb Angau Brenin dychryniadau, a d'wedyd wrtho ( yngeiriau 'r Apostol, 1 Cor. 15. 55. ) *O Angau, pa lê mae dy Golyn? O Uffern, pa lê mae dy Fyddegoliaeth?* —— O Enaid gwerthfawr, mattar mawr yw Marw, yngolwg pob Dŷn teimladwy; mae'n fawr, o ran rhagoriaeth *y* cy-flwr, yn ôl Marw, yngolwg y Dŷn hyderus, ac am hynny 'r oedd Paul, *a chwant Marw*, i *gael* bod *gyda CHRIST*; ond mae 'r Dŷn teim-ladwy, sy' heb hyder Crŷf, yn edrych yn fawr arno, ( a hynny gyda braw a syndod mawr, ) am na wyr yn Sicr pa fôdd y bŷdd hi gydag ef yn Angau, ac ar ôl Marwolaeth; ac ni all Dŷn fod yn llawen, ac yn gyffurus, tra fo, yn y fath gyflwr ac y gallo ddwedyd ( neu na allo ddwe-dyd yn wêll nag ) yr wyf mewn Bŷd, a Bywyd cyfnewidlol, ac ansertennol; ac ô ni wn, pa mor gynted yr âf i Dragwyddoldeb maith; a phan elwyf, ni wn, i bâ lê yr wyf yn myned? pa un a Nefoedd, ai Uffern sŷdd fy lle Tragwyddol i, na pha un ai DUW, Saint, a'r Angylion sŷdd fy nghwmpni, neu yntef, Cythrauliaid, a Dam-nedigion,—o Enaid onid yw yn beth Dychryn-llyd i feddwl wynebu ar Fŷd arâll; pan y b'om yn y fâth gyflwr na b'o gennym ddim cyffur ein hynain, na dim i roddi i neb arall; peth galarus,

 yw

yw fod y Gŵr yn ymadel, ar Wraig; neu'r Wraig, a'r Gŵr, y Rhieni a'r Plant, a'r Plant a Rhieni, heb allu d'wey'd wrthynt ddim gwêll na hyn, wrth ymadel; sef, wele fi nawr yn ymadel a chwi fy ffryns, a'm perthynassau anwyl, ni wela'i wyneb un o honoch yn y Bŷd hwn mwyach; yr wyf 'nawr yn myned i'r bwlch, sy rhwng y Bŷd ar Bêdd, rhwng amser, a Thragwyddoldeb; a phan elwyf trwyddo, un waith, nid oes dim troi 'nôl drachefn; mae fy Enaid i nawr ar ymadel a'r Corph, nid ydwyf Sicr, p'un a'r Angylion, a Chythrailiaid sy'n disgwyl amdano, na phun, a Nêf, ac Uffern, sy' wedi drefnu iddo: mi gefais lawer o Drugareddau, ond ni allaf ddwey'd y mwynhâf un byth ond hynny: —&c. Mi dybygwn fod y fâth ystyriaethau a hyn ( gyda bendith ) yn ddigon i gyffroi dynion, i beidio a bodloni, bod yn anwybodus o'u cyflyrau: gan mae nid felly bŷdd hi gyda'r Duwiol, f'o a *Sicrwydd* gantho; eithr efe, a all dd'wedyd wrth ymadel a'i ffryn's, Fy ffryn's anwyl, na alarwch o'm plegid i, canys yr wyfi 'n myned i lawer gwêll llê, na'r Bŷd hwn; yr wyf yn cael newid fy llê, am cyflwr, a'm Cyfeillion; am lê, a chyflwr, a chyfeillion sŷdd wêll; yr wyf mewn cyflwr, da, ( gan fy mod dan Râs ) yma, ond yr wyfi 'n myn'd i gyflwr o ogoniant, yr hwn sydd well; mae llê da yma yn Eglwys DDUW, ond mae llê sydd wêll yn y Nefoedd imi; mae Tylwyth fy Nhŷ, a Thylwyth Tŷ DDUW, yn gyfeillion hyfryd, gennyfi yma; ond y mae'r tylwyth sanctaidd perffaith fry 'n rhagori 'mhêll; mae CRIST wedi myned o'r blaen i baratoi lle, im

imi; Yr wyf inneu nawr yn myned i'r lle hwnnw: bûm hŷd yma, er pan cefais râs. yn byw trwy ffydd, ond nawr 'r wyf yn myn'd i fyw wrth olwg, mi welais Haul y cyfiawnder, megis trwy'r Cwmmwl lawer gwaith, ond y nawr yr wyf yn myned i dderbyn gogoniant, oddiwrth ei disglair beladerau hi; hyd yma, yr oeddwn yn gweled mewn drŷch, ond o hyn allan wyneb yn wyneb; hyd yma, yn adnabod o ran ond o hyn allan megis 'm hadweinir; hyd yma yn clywed sôn, ac yn credu am y Nêf, ond o hyn allan, bod yn y Nêf dros byth; hyd yn hyn yr oeddwn yn clywed sôn am yr hên seintiau, ond nawr 'r wyf yn myned i weled y Prophwydi, a'r Apostion, a'r hên ferthyron sancteidd aeth trwy'r Tân i'r Nefoedd: hŷd yma 'r oeddwn mewn gwlad ddieithr ond o hyn allan, yr wyf i Artrefu gyda'r ARGLWYDD; o hyn allan yr wyf yn diolc fy llygredigaeth, oddiam danaf i gael gwisgo anllygredigaeth: ymhen 'chydig, fe lyngcir yr hyn sydd farwol ynof gan fywyd, diflaniff yr hyn sydd dywyll gan oleini, a'r hyn sydd wael gan ogoniant. O hyfryd, a dedwydd gyfnewidiad! O Angau, p'le 'r wyti, a oes itti ryw beth ynofi? p'le mae dy golyn di? mi wela' nad yw ef ond gwan, mae'r gyfraith wedi cael ei bodloni, mae Cyfiawnder wedi cael eu fodloni, mae nghydwybod ineu wedi cael ei bodloni a'i santeiddio gan fy mod wedi cael ysbryd DUW, i gyd Dystiolaethu a'm hysbryd i, fy mod i'n blentyn i DDUW. Enaid anwyl beth y dd'wedi di wrth y pethau hyn, onid yw 'r fâth gyflwr yn hyfryd, wrth farw: a ydwyti ddim yn gweled y nawr mai peth angenrheidiol, a byddiol yw *Siccrwydd*

rwydd, a oes arnati ddim chwant ei gael ef? Mae 'n bosibl fod rhyw gristion gwan, yn barod i dd'wedyd, Oes yn wir, mae arnaf lawer o hiraeth am Siccrwydd, ac fe fyddai 'n well gennyfi, fod yn siccr o'r pethau uchod, na bod yn siccr, o'r holl fyd, a'i anrhydedd i gîd, ac ô na allwn i wybod pa fodd iw gael; tybygwn y cynhigwn i, un ffordd gyfraithlon tu ag at ei gael, pe gwybyddwn pwy ffordd i gynnig: A ïe, blentyn anwyl Duw ai hyn yw dy ddymyniad di? gan mae fy amcan yn hyn o orchwyl yw, dy adailiadaeth, a'th ddwyn yn y blaen; mi gynhigaf iti yn y peth nessaf, sef yn

IV. Rhyw gyfarwyddiadau tu ag at fod yn gyfrannog o *Sicrwydd*; Neu tu ag at i Ddynion Duwiol i wybod trwy ffŷdd eu bod yn Dduwiol: &c

1. Cadwch eich golwg yn graff ar JESU GRIST a'i haeddedigaethau, a phan y bôch yn profi, amheuaeth, ac ofnau, oblegid, maint, ac amled eich pechod, cofiwch y gair y Ddwedoedd DUW, wrth ddynion, yn Mat. 3 17. *Hwn yw fy anwyl fab yn yr hwn i'm bodlonwyd*; Ar gair arall, mai 'r Apostol dd'wedyd yn 1 Jo. 1. 7. *gwaed ei fab ef, sydd yn ein glanhau* ni *oddiwrth bob pechod.* Peidiwch ac ymddiried mewn un peth ac sydd ynoch eich hunain, nag yn un peth ac a wneloch, ond ar y cyflawnder mawr yngHRIST JESU; dweded eich Calonau 'n wastad, *Ac i'm caer yntho ef heb fy nghyfiawnder fy hun* &c. Phil, 3. 3. *yn yr ARGLWYDD mae imi gyfiawnder a nêrth*, Esau 45. 24, can's i'r hwn sydd a chyfiawnder CRIST gantho y mae Diogelwch. Esau 32. 16 17. Rhy. 8 34 Ie meddaf edrychwn ar GRIST, yr unig jawn am bechod, rhedwch atto ( trwy ffŷdd )

pwy-

pwyſwch arno ac ymddyriedwch yntho; canys os ceiſiwn oſſod ein cyfiawnder ein hunain i mewn yn y pwngc o gyfiawnhad, nid oes genym ddim ſail i fod yn hyderus, Rh. 10. 3 gan fod y Ddeddf yn rhy wan trwy 'r cnawd. Rhu. 8. 3.

2. Yſtyriwch angyfnewidiad natyr Doniau, a galwedigaeth Duw, Rhu. 11. 29. Num. 23. 19. canys mae Siccrwydd ein dedwyddwch yn ſefyll yn fawr, ar Siccrwydd anghyfnewidioldeb Duw: Mal. 3. 6. Jac. 1. 17. Mae DUW, a phob peth yn *Sicer* gydag ef yn waſtad i'r duwiol, ac nid yw ef byth yn newid yn ei feddyliau, tuag atynt; mae gantho *bob peth wedi liniaethu yn hollol, ac yn Sicr ar ran ei bobl.* 2 Sam. 23. 5. a'r Yſtyriaeth o hyn a rŷdd gyſſur i'r Duwiol, ac a gadarnha ei hyder mewn amſer cyfyngder ac ofnau.

3. Myfyriwch lawer, ar Addewidion DUW, y rhai ſydd yn IE, ac yn AMEN yng HRIST. 2. Cor. 1. 20. mae gan DDUW, Addewidion gwerthfawr wedi eu rhoddi yn ei air, er cyſſur a diddanwch iw bobl, perthynol i bob achos, a chyſ-lwr ag y gallant fod ynthynt, tra f'ont yn y byd hwn; ac mae Addewidion DUW, 'n Sail gadarn i hyder plant DUW, 2. Pet. 1. 4. ac am hynny chwi ddylech, fod yn gyfarwydd yn yr 'Sgrythur llê mae 'r Addewidion; ac wrth ddarllain, a gwrando 'r gair, chwi ddylech oſſod 'ch Deall, a'ch Côf ar waith, fel y galloch Ddeall, at ba gyflwr mae'nt yn perthyn; a'u Cofio, mewn amſer cyf-yngder, a phrofedigaeth (pryd mae 'r Criſtion yn ûeddol i fyn'd i ammeu'i gyflwr ) ac i Sygno 'r melyſder ſydd ynddynt, yn y fath amſer, er cadarnhau 'n Henaidiau mewn hyder diyſgog ar

DDUW

DDUW; gan fwrw 'n holl ofal ( gorph ac enaid) arno ef, gan ei fod ef yn gofalu trofom ni.

4. Ymegniwch fel Dynion grafol ( trwy nerth DUW ) i wneuthur Defnydd o pob grâs, ac yn neullltuol, y Grafyfau, a'r Rhinweddau ac mae 'r Apoftol Peter yn Sôn am danynt ( 2. Pet. 1. 5. 6. 7. ) Oblegid mae un Grâs yn fynych yn cael bod yn offerynol, i gynhyddu cadarnhau, ac amlygu 'r llall: ond Cofiwch *ymnerthu yn y grâs fydd yn GHRIST JESU*, ïe *ymnerthu yn yr ARGLWYDD, ac ynghaderndid ei allu ef, heb yr hwn ni allwch wneuthur dim.* Gal. 5. 6. 2 Tim. 2. 1. Eph. 6. 10.

5. Holwch eich hunain, yn fynych ïe, byddwch yn fynych ac yn ddidwyll, yn y ddyledfwydd hon. Oblegid hyn yw Cyngor yr Apoftol mewn trefn ini wybod ein cyflwr, a chael llawenydd, oddiwitho. Gal. 9. 4. yn 2 Cor. 13 5. hefyd, y cawn gyngor, fel, hyn, *Profwch chwy chwi eich hunain, a ydych yn y ffydd; ai nid ydych yn 'chadnabod eich hunain,* ( Ac yna mae diwedd yr adnod yn dyfod i mewn, megis atteb, i ryw un fyaffai yn gofyn, Am beth, neu ynghylch pa beth, yr ydych yn ein cynghori fel hyn, gan 'ch bod mor daer ac mor ddwys, i holi 'n hynain?) *ydyw Jefu Grist ynnoch? oddieithr i chwi fôd yn anghymmeradwy* daliwn fylw, os nad ydyw CRIST ynoch; yr ydych yn anghymmeradwy; ac os ydych am wybod a ydych yn angymmeradwy; edrychwch a ydyw JESU GRIST ynoch; ac os y'ch yn chwenych gwybod pa fodd y mae, neu pa gyflwr yr ydych, profwch, a holwch eich hunain: mae 'r Ddyledfwydd hon yn cael ei goffod i lawr mewn amryw

fannau

fannau eraill yn yr ysgrythur; ac mae proffeswyr yn gyffredinol, yn cyfaddef, mai Dyled swydd pawb yw holi eu hunain; ond etto, ni syn llawer o honynt ddim holi eu hunain at y galon; holant y chydig weithiau yn gynnil arnynt eu hunain, ac edrychant ar ei calonnau, megis o hirbell; ond nid dyfod yn agos attynt, a'u treio wrth bob rhan o air DUW; Eithr nid dymma 'r ffordd ini adnabod ein hunain, a chael *Siccrwydd* o'r bod yn wîr rasol: oblegid, ystyriwch, pan y b'o Dyn yn edrych a'r ryw beth natyriol oddiymma draw; ni all efe ddim fod yn *Siccr* o'i fod ef yn ei adnabod ef; ond pan ddêl yn agos atto, a sylwi arno, bydd gantho ryw beth i ddwe'yd am dano, felly ninneu, tra f'om yn edrych arnom ein hunain o hir-bell ni's gallwn iddim wybod yn *Siccr* pa un a bod grâs ynnom, a'i nid oes; ond pan ddelom yn agos attom ein hunain, a bod yn *ddiwyd* (yn ol geiriau 'r Apostol, ) a hynny 'n fynych, ac yn fanol; yn chwilio 'n hunain; hon yw 'r ffordd ini ddyfod i 'nabod ein hunain; Ymhellach, wrth holi 'n hunain, dylem fod a'n golwg yn graff ar Air DUW, ac ar nodau 'r Duwiol yn y gair, oblegid oni chawn ni ein cyflwr, a'r Grâs y'm yn farnu fod ynom; yn cyd-uno a gair Duw, mae'n myned yn dywyll arnom, ac nid oes genym sail i farnu 'n ddâ am danom ein hunain, Esau 8 20. a chan fod gair DUW, yn ganwyll ddâ, oleu, ini weled, ac i adnabod ein hunain; ni ddylem fynych, a diwid wrando, a darllen y gair, ac a ddylem fod, fel Dafydd, a'n *hyfrydwch yntho, yn rhaith ein tefterindod*. Ond ( fel y mae trueni, drwg, a thywyll Dyn yn fawr, ) mae llawer, yn caru pechod mor fawr

 ac

ag na fynnant ymadel ac ef' ac mae 'n well gan-
thynt fyw mewn gwag obaith, heb Sail iddo, (ac
ar yr un pryd, dirgel goleddeu pechod, ) nag y
chwiliont eu hunain, mewn Trefn i gael Sail i fod
yn hyderus; — mae llawer yn caru pechod, ac yn
dwe'yd yn erbyn pechod, yn eu geiriau ar yr un
pryd, ïe, cymmerant arnynt weddio yn erbyn pe-
chod, ac etto, er dim, ni ro'nt hwy heibio bech-
od: mi ddaillenais fod Austyn, cyn ei droedigaeth
yn gweddio yn erbyn pechod, ac yr oedd efe ar
yr un pryd yn caru pechod cymaint, a'i fod yn
ofni y gwrandawai DUW ei weddi ef; y fath
ddynion a hyn nid oes ganthynt fawr hyfrydwch
mewn hunan ymholiad, a phan delont i holi eu hu-
nain nid oes ganthynt Sail i fod yn gyssurus, mae
hefyd, rai o bossibl, yn coleddu rhyw bechodau,
megis yn rhyw gornel o'r galon, (bron ) heb wy-
bod iddynt, o eisiau holi eu hunain, ac eraill, a
mwy o Râs nag y maent yn debig, neu 'n i farnu
i fod ynthynt, ac eisiau holi eu hunain, a myn'd
a gair DUW i mewn iw profi eu hunain; ac fe-
lly maent yn ddiffygiol o gyssuron, ac a allent
fwynhau yn chwaneg, pe arferent y moddion &c.
Gan hynny o Enaidiau, nag Esgeulyffwch holi
'ch hunain; oblegid, os oes grâs ynoch chwi, pa
mwyaf Sicer y b'o chwi, o hynny, mwya' i gid o
gyssur y gewch chwi, ac os ydych ragreithwyr,
ni ddylech' wi ddim esgeulyffo holi 'ch hunain,
gan mae goreu pa gyntaf i chwi wybod hynny, yn
hytrach na bod yn gwenheithio i chwi 'ch hunain
a thwyllo 'ch hunain yn y diwedd, ac felly cael
eich anwiredd yn atcas; felly os ydych yn chwe-
nych gwybod pa foddion i arferid tu ag at fod yn

Sicer

*Sicr* 'ch bod yn blant i DDUW, Diau mae hunan ymholiad yw un, ac am hynny nag esgeulysswch, y Ddyled-swydd hon. ond yn

6. Byddwch fyw yn *S*ancteidd, ïe, gwnewch Sancteiddrwydd yn gyfaill i chwi ymhob cyflwr, ac ymhob cyfeillach, gwnewch eich gorai, yn wastad, ( trwy gymmorth DUW ) i gadw holl orchymynion DUW, canys nid oes Sancteiddrwydd, lle nid oes cyd-ffyrfiad ( calon, ac ) ymdrechiadol a'r Gyfraith, fel Rheol Bywyd: *medd yr Apostol anghyfraith yw pechod*, 1 Jo. 3. 4. ac mae pechod, a Sancteiddrwydd, yn wastad yn groes iw gilidd: ac yn awr, pan y byddo Dyn yn trosseddu gorchymmyn DUW, fe ddaw cydwybod (Tyst yr Arglwydd) i'n hargyhoeddi; ac a ddaw, a'r gair i ddangos y fath felldithion Sydd ynghyfraith DDUW yn erbyn y fath drosseddwr, ac yna fe gaiff anghrediniaeth lê, ac fe ddaw tywyllwch i mewn i'r Enaid, nes b'o 'n methu gafaelu trwy ffŷdd, ar haeddiant CRIST; ac ( ond odid) fe ddaw Euogrwydd newydd, am hên bechodau nes b'o 'r Enaid yn ofni; ac yn barod i farnu na by ddim grâs er-joed yntho: gan hynny edrychwch am gadw ( nid yn unig rhai, ond ) holl Orchymynion DUW, mae CRIST yn d'weyd, *Chwi yw, fy ngyfeillion os gwnewch pa bethau bynnag wyfi 'n orchymyn i chwi, ac os dwedwn, fod ini gymdeithias a Duw, ac heb gadw ei orchymynion ef celwyddog ydym* &c. 1 Jo. 1. 6. ond, or tu arall, os profwn i, fod gwaith yr ysbryd fef Sancteiddrwydd yn myned yn y blaen ynom, (ymhob rhan o hono ) a'n bod yn ein profi 'n hunain, o'r galon yn cydffyrfio, a gair DUW, ni a allwn fod yn hyderus ein bod yn blant i DDUW: mae 'r gair

dwe'yd mai *Heb Sancteiddrwydd na chaiff neb weled yr ARGLWYDD*, felly nid oes neb a gwir *Siccrwydd*, ac fydd yn Cymmeryd rhydd-did i fyw 'n aflan; ond mae'r Apostol Joan yn dwe'yd, *mae wrth hynny gwyddom, yr adwainom DDUW ——os cadwn ei Orchymynion ef*. 1 Jo. 2. 3. Gan hynny ymdrechwch, ( trwy Râs ) i fyw 'n Sancteidd, na wnewch ddim, ag mai DUW 'n ei wahardd, ac na, adewch heibio, heb wneuthur ddim, ag mai DUW wedi ei orchymmyn; casewch y Drwg, a glynwch wrth y Da. Ond daliwch sylw, ( mewn ffordd o, ocheliad ) nid 'wyf yn meddwl bod ein Sancteiddrwydd Cyfrannol, na Gweithredol ni, yn Sail ein Heichawdwriaeth, &c. Na'n *Siccrwydd* o hono; Eithr cariad DUW, a'i Drugaredd, a'i allu &c. Yw 'r achos cyntaf, neu Silfaenol: a heiddiant Crist yn y cyflawnder o gymwysfiad sydd ynddo yw 'r achos heiddiannol, a'r unig jawn: ac hefyd Silfaen cyffer, yn yr ystyr hyn. Ond fy meddwl yw bod Sancteiddrwydd yn gymhwysiad i'r Nefoedd, ( gan nad aiff dim aflan i mewn yno ) neu fod gwaith yr YSBRYD yn Angenrheidiol yn yr Enaid, fel gwaith CRIST yn Angenrheidiol dros yr Enaid, Rhu. 15. 16. a'r 8. 14. Ac hefyd, mae'r profiad, a'r ymarferiad diragrith o hono, yn cadarnhau 'n ffydd ni, 'n bod yn blant i DDUW, gan fod yn wiw gantho 'n tueddu cymmaint at Sancteiddrwydd, yr rhai oeddem or blaen yn ymhyfrydu cymmaint mewn pechod ac aflendid. Am hynny, etto, un-waith, ymhyfrydwch mewn Sancteiddrwydd. ac yn

7. Gwedd-

7. Gweddiwch, lawer ar DDUW, am Sicrwydd; d'wedwch, ARGLWYDD 'chwanega 'n ffydd ni, Luc. 17. 5. Gweddiwch am Ysbryd DUW, i gid-dystiolaethu a'ch Ysbrydoedd chwi, 'ch bod yn blant i DDUW, sef YSBRYD Mabwysiad, trwy 'r hwn y galloch lefain Abba, Dâd, &c Rhu. 8. 15. 16. 17. Cofiwch *mai 'r hwn sy'n ceisio sy'n cael*; mae 'n rhaid i ni farnu fod y Dystiolaeth hon, i'r Duwiol, yn fraint fawr ac y dal ei cheisio; ac ni's dylem edrych arni 'n beth bâch, nid oes dim llai, nag YSBRYD DUW yn gweithio ac yn Selio'r Dystiolaeth hon, i'r rhai sy'n ei chael hi; ac mae genym Annogaethau mawr, i geisio 'r YSBRYD, a'i Effeithiau, Luc. 11. 13. yn

8. Byddwch ddiwid, i arferid pob Dyledswydd, ie, meddaf, byddwch ddiwid, gwiesog, ac mewn Sêl, yn cyflawni pob Dyled-swydd; Cofiwch eiriau 'r Apostol, *Byddwch ddywid, i wneuthur, eich Galwedigaeth a'ch Etholedigaeth yn Sicr*; ar Dynion diwid, ymhob Oes, yw 'r Dŷnion mwyf cysurus, Dih. 10. 4. a'r 12. 24. a'r 13. 4. Y mae'nt hwy 'n cael eu gwneud yn frâs o Effeithiau 'r YSBRYD, ac mae'nt yn cael y llywodraeth, ar eu Gelynion: A'r Dynion clauar diofal esgeulus mewn Dyledswyddau crefyddol ( yn fwyaf cyffredinnol ) yw 'r rhai gwagaf o gyssur yn eu Heneidiau; oblegid pan mae Dŷn yn Esgeulusio Dyledswydd, ( hyd yn ôd yn y cyflawniad allanol o honi ) bŷdd hynny'n un bwlch i Satan ddyfod i mewn, ( ond odid ) i ddenu 'r Dŷn i gymmeryd esgis i esgeilyso rhyw Ddyled-swydd arall, neu i gy-

i gyflawnu rhyw bechod arall, ac yna fe gaiff Angrediniaeth lê i ddyfod i mewn; ac yna ofn a'r ôl ofn: pan mae Dŷn yn myn'd yn glauar, ac yn esgeulyso Diwidrwydd, mae 'n dyfod dan fygwthiad trwm, o gael ei fwrw ymaith gan DDUW, Dad. 3. 16. Dan ystyriaeth o ba un, ni all Dŷn Euog fod yn wir hydyrus: a phan mae Dŷn yn Ddiog mewn Diwidrwydd, ac yn esgeilus, yngwaith yr ARGLWYDD, mae llygredd yn cael llê i weithio mwy; ac oni chwymp y Dŷn i riw bechod gweithredol fe aiff (o bossibl) yn fwy dan afel y Bŷd; ac fe dyn hynny 'r meddwl i ddieithro, oddi wrth DDUW: a phan gaffo Satan afel ar y Dŷn, ar ei Dîr ei hun, mewn un pechod; pwy all dd'weyd pa bryd y dihangiff, oddiwrtho? pa bryd y daw 'nol drachefn? o fel y maglwyd y Brenin Dafydd! pa fawl pechod y dygwyd ef iddo; pan cafas Satan ef, un waith allan o'r ffordd? ac am hyny byddwn ddiwid a gofalus, i fefyll yn erbyn pechod; ïe, 'r pechod o Esgeilustra: ac o'r tu arall, mae un Ddyledfwydd (gyda bendith DUW) yn cymhwyso Dŷn i Ddyledfwydd arall ac yn wir pan y b'o Dŷn, yn Esgeulusso bod yn ddiwid yn cyflawni ei Ddyledfwydd, ac yn esgeulusso bod yn ddiwid i wilied ynthi; fe ddaw llygredigaeth i mewn; ac fe lygriff y meddwl, yn gyntaf; ac (o bossibl,) a dyr allan yn weithredol, bob yn ychydig Eneidiau, mae Satan 'mor ddiwid yn ei waith ef; mor gyfrwys yn ei ddichellion, fel ag y denif Ddŷn, yn ei feddyliau oddiwrth DDUW, pan y b'o 'n ymddiddan a DUW mewn gweddi,

ie,

le oni bŷdd y Dŷn yn wiliadwrus, fe a gynhyrfiff ei feddwl ef ar ol y Bŷd, neu ryw wagedd neu gilidd, nes, b'o, na wyddo 'n jawn beth fŷdd yn ddwey'd wrth DUW, a phan b'o 'n gwrando, na wyr beth fŷdd yn wrando, &c. Ac yna, daw Euogrwydd i mewn, ac yna ofnau ac Angrediniaeth. Ac am hynny, Oh blentyn DUW, gâd i mi a thitheu fod yn ddiwid, (ymhob ystyriaeth,) ymhob Dyled-swydd: yn ddiwid i wrando, yn ddiwid i ddarllain, yn ddiwid, yn ddiwid i weddio, yn ddiwid i fyfyrio, yn ddiwid, ac yn fanol i ufyddhau, yn ddiwid i holi 'n hunain; d'yna 'r ffordd, ini fod yn gyfrannog o fwy, fwy, o gyssur: Ar Dŷn a wnelo arferiad cyd-wybodol, o'r amriw gyfrwyddiadau hyn (y soniwyd am danynt uchod) fe fŷdd ar y ffordd Debycca (hyd ac yr wyfi 'n deall) i ddyfod, i allu dwe'yd yn galonnog, *Myfi sydd eiddo fy anwylyd, am hanwylyd sydd eiddo finneu, fy llinyneu, a syrthiodd mewn lleoedd hyfryd, y mae imi Etifeddiaeth dég*. ond, fallai, y gofynnai rhyw un. A ydyw 'n hymarferiadau Diwid ni, yn Cynhyrfu DUW, i roddi peth i Ddŷn? ac yn enwedig, i ddadgyddio 'r wybodaeth hon i ni? Yr wyf yn atteb, nad oes gwyniau, a chyffroiadau (yn eu natur eu hun) yn briodol i natur DUW, ond etto, cofiwch ac ystyriwch, mai yn ffordd eu Dyled-swydd, mae 'r ARGLWYDD wedi addo cyfarfod a'i bobl; ac hefyd, fel mai, mewn Gobaith, mae 'r Arddwr yn Aredig, (mewn gobaith) i fod yn gyfrannog o'i Obaith; nid Aredig, a Hau, sŷth a ddwg Lafyr i'r Hwsmon, heb fendith yr ARGLWYDD; ond etto,

nid

nid oes lê, gan yr Hwſmon i ddiſgwyl Crop, heb Aredig, a Hau &c. Nid yw DUW, yn cael ei gynhyrfu, gan yr hwn ſy'n Hau 'n helaeth, i roddi iddo helaethrwydd i Fedi; etto, mae'n gwneuthur hynny, 'n ſwyaf cyffredinol: ac felly yn y *Rhodſeydd mae'r Brenin yn rhwym, ac ynd' adnabyddwn, os dilynwn adnabod yr Arglwydd* Hoſ. 6. 3. a'r hwn ſy'n ymhelaethu mewn diwidrwydd, ſy'n Medi 'n helaeth gyſſuron Yſbrydol yn ei Enaid; ac heſyd, yr hwn ſy'n mynych gyfeilliachu a DUW mewn Dyledſwyddau, ſy 'n Dyfod i Adnabod DUW. Ac os oes neb yn barnu ſed gantho *Siccrwydd*, ac heb wneuthur cyd-wybod o ſyw yn ffordd ei ddyledſwydd, ni allaſi ddwedyd fod y cyfryw yn Sicr o ddim, ond ( os bydd marw yn y cyflwr y mae ) y bydd yn *Sicr* o fynd i uffern: felly ſy nghyfeillion anwyl yſtyriwch y pethau hyn yn ddifrifol, a diſgwyliwch am y fendith; hono ſy'n cyfoethogi 'r Enaid. ond yn.

V. Mi gâf gynnig caſglu rhyw ddefnyddiau oddi ar yr hyn a ddwedpwyd.

1. Gan fod Siccrwydd, yn beth cyrraeddadwy; Dyſgwn fod pwy bynnag a ddywed i'r gwrthwyneb yn cyfeiliorni; ac yn d'wedyd yn erbyn gwirionedd DUW, ac heſyd, yn erbyn braint, a chyſſur plant DUW, mae rhai yn d'wedyd yn erbyn *Siccrwydd*, oblegid eu bod hwy 'n leico byw'n farwaidd, ac yn ddiofal, mae rhai eraill yn dwe'yd yn eu erbyn gan eu bod hwy wedi bod yn hir mewn preffes o grefydd, ac etto hebddo; ac ni fynnant hwy fod eraill yn fwy ( enu wedi cyraedd ymhellach ) na, hwy: mae arnaf ofn am y fath rai

rai, fod eu crefydd hwy fwyaf, *ger bron Dynion, a'u clôd hefyd, o Ddynion, ac nid o DDUW*: gan nad yw arfer plant DUW, ddwe'yd yn erbyn gair DUW.

2. gan fod yn Ddyledfwydd ar Griftnogion, i ymofyn am *Siccrwydd*, Dyfgwn fod yr hwn fy' (yn unig) yn cyfaddef fod Siccrwydd iw gael, ac yn efgeuluffo, ymarfer a phob moddion, i wneuthur ei *Alwedigaeth*, a'i *Etholedigaeth yn Siccr*; yn feius, ac yn bechadurus yn ôl yr Athrawiaeth hon: gan hyny cydnabydded ei fai, a gweled ei fod yn efgeuluffo un Gorchymmyn mawr o eiddo DUW: Yftyriwch, Eneidiau Anwyl, nid yw ddigon i Ddŷn gyfaddef, mai ffordd DUW, yw ffordd y gwirionedd, heb ymegnio, i rodio ynthi; fe gyfaddefiff, y Cythreuliaid hynny, ond nid ydynt ddim gwell, oblegid hynny; mae llawer hefyd, a ddwedant am riw beth, mewn crefydd, mae gwirionedd yw, a bod y 'Sgrythyrau drofto, ond ni chadwant at y gwirionedd, a gyfaddefant; o'r fâth Dyft cyflym, fydd y gwirionedd hynny yn erbyn y cyfriw, Ddŷdd y farn!

3. Gan fod *Siccrwydd* yn fraint y Saint &c. Dyfgwn fod pwy bynnag fy'n Pregethu 'r Efengil, ac yn efgeiluffo Pregethu 'r fraint hon, ac anog Dynion, fef Duwiolion i ymofyn am dani, yn efgeiluffo un rhan o gyngor DUW; ac mae ganthynt achos i ammeu eu ffŷddlondeb yn y weinidogaeth; nid efgeiluffodd Peter hynny &c.

4. Defnydd o gyngor i bawb ac fy'n meddwl myn'd i'r Nêf yn y diwedd, nag efgeiluffwch un Ddyledfwydd, (a chofiwch o hyd mae CRIST,

yw 'n Drws, ein cyfiawnder, a'n hiawn ni ger bron DUW;) O bobl, na chymmerwn 'Siampl oddi wrth rai esgeilus, i fod yn esgeilus 'n hunain, beth mae 'r Apostol yn ddweyd? *Ond yn hytrach* ( cymmaint a phe dwedassai, peidiwch chwi, ac esgeilusso 'ch Diwidrwydd, oblegid fod eraill yn esgeilusso, ond yn hytrach) *byddwch fwy diwid*; oblegid, pan y gwelom un rhan o waith Duw,'n cael ei adel yn ol; ni a ddylem ymdrechu mwy prŷd hynny trosto, rhag bod ei achos, yn cael myn'd i'r llawr. Yn wir mae achos i ofni, am y rhai sy'n esgeilusso, oblegid fod eraill yn esgeulusso, &c. Mae oblegid fod eraill yn proffessu crefydd, yr aethant hwythau i broffessu, a phe bai bawb eraill yn gadel crefydd, y gadawent hwythau grefydd hefyd. O Enaid, os d'ymma dy gyflwr di, mae gennyt achos i ofni na bŷ grâs erjoed ynot ti: nid fel hyn y mae Dynion mewn pethau natyriol; ond pan y byddo un yn esgeilusso,( ac yn cael colled oblegid hynny; )'fe fydd i arall fod yn fwy diwid, a gofalus, rhag iddo yntef gael colled hefyd; ac etto, fe gymmer Dynion 'Siampl oddiwrth eu gilidd i fod yn esgeilus mewn crefydd: a bod mewn perigl o'r colled &c. Ac am hynny o enaid anwyl, na ddywed (mewn ffordd o esgis ) nid oedd dim o hwn, a hwn yn yr Addoliad, nid oedd dim o hono 'n gweddio &c. ie, ystyria a fyddi di fodlon i beidio a myn'd i'r Nefoedd, os nad aiff hwnnw i'r Nêf: Gan hynny, fel ac yr wyt ti 'n fodlon i fyn'd i'r Nêf, ( ie, 'n chwenych myn'd, ) a phwy beidie, felly hefyd bydd dithau ddiwid yn ffordd dy Ddyledswydd; esgeulussed y neb a esgeilusso, nag esgeulu-

esgeulussa di ddim; ac na wna bechod, oblegid fod arall yn gwneuthur pechod, gan dy fod yn chwenych cael dy wared rhag Uffern a phwy ele yno; hyn hefyd, a ddyleu Argyhoiddi pob Dŷn esgeilus; oblegid, gwelwch eich bod, nid yn unig, yn gwneuthur drwg eich hunain; ond hefyd (trwy 'ch 'Siampl Ddrwg ) yn annog eraill hefyd i wneuthur drwg: O broffesswyr clauar, gwelwch gymmaint o ddrwg y'ch yn wneuthur; Ac mae genych achos i ofni, y bŷdd nid yn unig, eich esgeulustra 'ch hunain, yn cwnni yn eich erbyn Ddydd y farn, ond hefyd esgeulustra eraill, gan eich bod yn 'Siamplau iddint: mawr fydd eich cyfri.

5. Defnydd o holiad, holwn ein hunain a oes gennym Siccrwydd, a'i nad oes? ac cs, nad oes, a yw 'n hesgeulustra ni, yn achos o'n bod ni hebddo? cofiwch gyngor yr Apostol, yn Gal. 6. 4. *Profed pob un ei waith ei hun, ac yna y caiff orfoledd yntho ei hun, ac nid mewn arall. &c.* Gochelwch eich bod yn tybied fod genych Siccrwydd, a chwithau hebddo; ie, heb un gronyn, o wîr Râs erioed, ystyriwch, a chofiwch mai nid rhyw dŷb gwâg rhyfygus yn y meddwl yw Siccrwydd. Mae 'n bossibl, fod rhai Dynion fel Agag, yn barnu fod chwerwder marwolaeth, wedi myned ymaith, er fod cyfiawnder DUW, fel Samuel, ar ddyfod iw dryllio hwy, a'u gwneuthur yn Sathrfa Cythrauliaid, yn Drag'wyddol. 2 Sam. 15. 32. 33. Am hynny, Eneidiau, na Thwyllwch eich hunain, ni Thwyllwch chwi ddim o DDUW; mae 'n bossibl i chwi dwyllo Dynion Duwiol, ond i chwi 'ch hunain y bŷdd

y Twyll mwyaf yn y Diwedd. Mae'n boſſibl, fod rhai yn dwe'yd fod ganthynt Siccrwydd, heb erioed, jawn yſtyriaid, beth yw Siccrwydd; nid oes dim Siccrwydd, gennych'wi 'r Dynion ſegyr, clauar, diffrwyth: ac os ydych yn tybied ei fod, yr ydych, yn eich Twyllo 'ch hunain; oblegid mae graſuſau 'r Yſpryd, lle mae'nt *yn helaeth yn peri* nad yw 'r rhai ſy' feddiannol o honynt, *na ſegyr, na diffrwyth, &c.* 2 Pet. 1. 8. Nid yw Siccrwydd yn peri i Ddynion ſyw 'n ſegyr, fel y gall rhai dybied; gan feddwl y gallant ſyw fel y mynnont gan eu bod yn Siccr o fyn'd i'r Nefoedd, pan y byddont feirw; Nagê, ond o'r tu arall, mae 'n peri iddint fod yn ddiwid, gan feddwl fod Gorphwysfa etto 'n ôl yn y Bŷd, Heb. 4. 9. A phan y b'o Dyn yn gwybod fod DUW, wedi ei garu ef, a gwneuthur cymmaint troſto, bydd hynny 'n Annogaeth iddo yntef i garu DUW, a chadw ei Orchymmynion ef, yn ddiwid, o gariad arno: gan hynny, na farned neb fod gantho *Siccrwydd*, ac yntef hebddo; gall, rhai hefyd feddwl e'u bod mewn cyflwr da, ( gan na welſant yn jawn eu cyflwr truenus erioed ) pan y mae'nt mewn buſtl chwer'der, a rhwymedigaeth anwiredd; ond daw tro dychrynllyd ar y rhai'n —— &c. Ond cofiwch chwi 'r Dynion graſol, holi 'ch hunain, fel yr adnabyddoch eich perthynas, a DUW, ac y caffo yntef, yr Anrhydedd, dyledus iddo, am ei Ras.

6. Defnydd o gyſſur i'r Duwiol *Siccr*, yr ydych chwi 'n blant i DDUW, wedi derbyn erneſt yr Etifeddiaeth Nefol, ac chwi a'i meddiannwch

nwch hi, cyn y b'o hîr; ymhen ychydig, fe lyn-
cvr, yr hvn ſydd farwol, gan fywyd; ac ni
ddaw llygredd byth i'ch blino: *Ychydig bachigin
etto, ar hwn ſydd yn dyfod a ddaw, ac nid oeda*:
nawr, yr ydych wi yn byw trwy ffydd, ond ar
fyrr, chwi gewch Ddiwedd eich ffydd, ſef, je-
chawdwriaeth eich Eneidiau &c. ac yn

7. Cymmerwch chwi 'r gwyr cryfion, yr y-
chydig gynghorion hyn.

1. Moliannwch DDUW, am helaethrwydd,
ei Râs, a'r profiad, a'r amlygiad o hono, i'ch
Eneidiau chwi.

2. Rhodiwch yn iſel yn eich bryd, gan yſtyr-
iad, nad oes gennych ddim, ond a dderbyniaſſ-
och; ac am hynny mae genych achos i ddywedyd
gyda 'r Eglwys, *nid ini nid ini ARGLWYDD y
dodi y gogoniant ond ith Enw dy hun.* &c. Pſ.
115. 1

3 Byddwch ddiwid i wneuthur cymmaint ac
alloch dros DDUW yn y byd; fe wnaeth CRIST
gymaint ac oedd raid, i bwrcaſſu dedwyddwch i
chwi, gwnewch chwithau gymaint ac alloch droſ-
to ef, ac yn enwedigol dygwch Dyſtiolaeth dros
ei Sanctaiddrwydd ef, a dwedwch, *pa fodd y bydd-
wn i byw drachefn, mewn pechod a nineu wedi
marw iddo ef*, Rhu. 6. 2. ac ar fyrr, i fyw yn y
Nefoedd.

4 Er cymmaint a gawſoch o Râs gweddiwch
am fwy, ac am aeddfedrwydd o hono, a gwach-
elwch farnu eich bod yn grvfach nag yr i'ch'wi,
ac oblegîd hynny, esgeuluſſo pwyſo ar Dduw, a
diſgwyl wrtho yn ffordd eich dyledſwydd, cofiw-
ch Samſon yr hwn a ddwedodd, *Af allan y waith*

*hon*

*hwn fel cynt*, &c. *ond ni wyddai efe, fod yr ARGLWYDD wedi cilio oddiwrtho, am na safodd yn y ffordd* &c. Barn. 16. 20. Ymnerthwch yn wastad yn y grâs sydd yn NGHRIST JESU 2. Tim. 2. 1.

5. Na ddiystyrwch y rhai gweinion, a'r rhai bach y'NGHRIST, cofiwch fod Crist *yn dwyn ei Wyn yn ei fynwes*; A chan eich bod chwi 'n wyr cryfion, ymaflwch yn eu Dwylaw, iw tywys yn y blaen, yn hytrach na eu bwrw lawr, gweddiwch drostynt, ïe, cyf'rwyddwch, a chynorthwywch, hwy yn y ffordd, gan eu bod hwy yn wrthddrychiau o gariad DUW, yn werth Gwaed CRIST i fod oll yn Llŷs y Brenin fel chwithau yn y Diwedd.——Cofiwch eich bod chwithau 'n wan.

8 Cyngor i'r rhai sy' *heb Siccrwydd ffydd.*

1. Na farnwch, nad oes dim *Siccrwydd* iw gael, ( neu nad yw ddim gan neb, (am nad yw genych chwi, can's nid 'yw weddus ini farnu cyflyrau eraill, wrth ein cyflyrau 'n hunain ymhob peth, ac hefyd, nid yw gymmwys ini farnu un rhan o'r gwirionedd, nag un pwngc o Athrawiaeth, wrth ein profiadau, a 'n Cyflwrau ein hunain, ond wrth Air DUW yr hwn yw 'r unig reol i brofi 'r Cwbwl.

2. Na fydded i chwi gyflawn farnu, nad oes dim grâs ynnoch, oblegid nad oes *Siccrwydd* gennych; neu na farnwch, nad oes dim ffŷdd gennych, am nad oes llawn Siccrwydd ffydd gennych; oblegid nid ydwyf yn barnu fod pob Credadyn, yn gwybod ei fod yn credu, pan gynted ac y byddo'n feddiannol o wir ffŷdd, ac felly grasussau eraill &c

Oblegid mae cymmaint o debygolrwydd rhwng rhith grás a gwir rás ) er fod gwahaniaeth mawr rhyngthynt, yn eu natur) ac na all y Dyn grasfol yn ei iabandod ysbrydol, ddirnad yn jawn i lawn *Siccrwydd*, pa un o'r ddau sydd yntho ef, nid am nad yw 'n deall fod rhyw gyfnewidiad yntho, ond methu, deall mae, pa un a gwir gyfnewidiad a rhith, sydd, yntho? ond fel b'o 'n cynhyddu mewn grâs, ac yn dyfod yn gyfarwydd a DUW, a'i Air, ac effeithiau ei ysbryd, mewn arferad moddion, mae 'n dyfod i ddeall pethau 'n well; ac i brofi 'r gwahaniaeth sy' rhwng y pethau sy' a gwahaniaeth rhyngthynt. O Wŷn Crist, ïe, rhai gawn yn y ffŷdd, ac ifaingc yn eich pererindod, tua Sion; yn wir nid wyf am eich gwangaloni, mae DUW yn gorchymmyn dwe'yd wrth fodd eich calon, mi wn fod Duw wedi 'ch Ethol chwi er tragwyddoldeb, a CHRIST wedi eich prynu chwi, a'i werthfawr waed, a bod gantho olwg arnoch, i dalu iawn drosoch, pan yr ôdd ar y groes, ïe, ei fod wedi myned i'r nef i baratoi lle i chwi: lle mae, nawr yn eiriol drosoch, mae 'r ysbryd glan hefyd wedi ei anfon i'ch Sancteiddio chwi: a DUW mewn bwriad ich gogoneddu chwi; am hynny; na atto DUW, imi gynnig, ich tramcwyddo, chwi, nag i farnu nad oes dim grás ynoch: Ond y mae 'r athrawiaeth hon (medd rhyw un ) yn fy ngwangalonni 'n fawr, ac yn peri i mi feddwl, ac ofni nad oes dim grâs ynnof —— I ddwedyd yn onest, yr wyf yn barnu fod gan y rhan fwyaf o ddynion achos, i ofni (ie, o broffesswyr ( ac hefyd i gredu, na bu gwir râs erioed ynthynt; yn enwedig y Dynion clauar esgeulus; ond etto, nid yw 'r athrawiaeth hon yn d'weyd, nad

oes

nes grâs gwan, yn y rhai Sy' ac ef, ond yn dangos. fod grâs cryf iw gael, ac yn gosod allan, yr angenrheidrwydd o hono, ar budd o'i gael ac annog i ymofyn, am dano, ac arferyd moddion tu ag at ei gael, &c.

3. Na farnwch mae 'r cyflwr goreu, yw bod yn amheius, arferwch y moddion, mae DUW wedi eu hordeinio, tu ag at gael sicciwydd, ac ystyriwch eiriau 'r Apostol, Byddwch ddiwid i wneuthur eich Galwedigaeth a'ch Etholedigaeth yn Siccr: a chofiwch mai geiriau DUW ydynt. Ond medd rhyw un mae llawer o ddynion amheus yn well na llawer o ddynion hyderus; y mae hynny 'n wir mewn rhyw ystyrieth, mae pedwar math o hyder Drwg, gan eu bod heb sail

1. hyder y Dynion sy'n cymmeryd rhydd-did i bechu, gan ryfygu ar Drugaredd DUW, a dwedyd eu bod yn gobeithio cael maddeuant; y cyfriw rai sydd mewn cyflwr erchyll ac ofnadwy jawn.

2. Hyder y Dynion anwybodus; y rhai sy'n barod i ro'i esgus, eu bod hwy yn anwybodus, ac meddant, gobeithio y passiff DUW, heibio ini &c. a hwynthau, ar yr un pryd, yn esgeuluso llafyrio am wybodaeth, ac hefyd, yn esgeuluso defnyddio 'r wybodaeth sy' ganthynt; ac yn arfer gwneuthur llawer o bechodau gyda hyfrydwch yn fynych, ie, pethau, ac maent yn wybod fod DUW 'n eu gwahardd, etto, os gofynyr iddynt, beth maent yn feddwl am fywyd tragwyddol? dwedant mae DUW 'n Drugarog, gobeithio y cawn i Drugaredd, nid ydym ni ond anwybodus gwir yw fod DUW 'n Drugarog, ond, mae gan-

tho

tho Dresn, ar ei waith yn gwneuthur Trugaredd; sef yn ol ei Air; ond am y Dynion a baihao fel hyn hyd angau, ni ddarllenais i, erioed fod DUW yn gwneuthur trugaredd a hwynt; ond o'r tu arall mae yn d'weyd, *Fy mhobl, a ddifethyr o eisieu gwybodaeth.*

3. Hyder y Dynion sy'n glaear; ac yn esgeulus mewn Dyledswyddau, ac heb wneuthur cydwybod, o Orch'mynion DUW. ond yn

4. Hyder y rhai sy'n hyderu ar eu cyflawniadau; a'u cyfiawnderau eu hunain. Mae pob un o'r pedwar math hyn, heb Sail, a th'ymma 'r gwaetha (os gallir gwneuthur cydmariaeth) o'r pedwar, Rhu. 9. 31. 32 sef pan y mae Dyn yn hyderu ar ei gyfiawnder ei hun trwy 'r ddeddf, ac nid ar gyfiawnder CRIST: Rhu. 10. 3. 4. Gal. 2. 21 a'r 3. 21. 22. Tit. 3. 5. Phil. 3. 9. Joan 3. 36. ——— Ond er hyn i gid, nid yw Anghrediniaeth yn dda, meddaf hefyd, nid y'w amheuaeth yn dda, nag yn ganmoladwy, yn y Cristion: cofiwch eiriau CRIST, yn Luc 8. 25. sef *Pa le mae eich ffydd chwi?* Yr annuwiol a ddylai ammeu am heddwch DUW, a Bywyd tragwyddol, pan mae 'n caru pechod ac yn eu ddilin; ie 'r pedwar math y soniwyd am danynt uchod sydd ag achos mawr, ie, gwir achos i ammeu pob Dedwyddwch, tra maent yn y fath gyflwr: a phawb hefyd pwy benna, ag sydd yn ymwrthod ar ARGLWYDD. Felly ystyriwch y pethau hyn, a DUW, a roddo i chwi Ddeall ynthynt a bendith arnynt; (gweddiwch drossof' inneu) Amen.

*TERFYN.*

*Mae amryw Feiau bychain, neu gam-osodiad Llythyrennau, wedi digwydd yn yr Argraffiad hwn; mae'n bossibl rywbeth fwy nag a fyassau, pe caniatuisai anhwyl imi ei olygu 'n fynychach: Ond yr wyf yn meddwl nad oes ynddo ddim Beiau, ag a bair i'r Darllenydd gam-gymmeryd yr ystyr, oddieithr y rhai canlynol: ( Y rhai y dymunaf arno eu diwigio, mor gynted ag y canfyddo hyn o gyfarwyddid. )*

YN NHYSTIOLAETH Y CREDADYN, &c. Tu dalen. 23. llinell 8. yn llê fef darllain fel. ll. 19. yn llê oes d. os. t. d. 24. ll. 1. yn llê a'u d. o'u. ll. 28. yn llê a'm d. o'm. t. d. 35. ll. 28. yn llê nhofyd d. ngofyd. t. d. 40. ll. 24. yn llê imi, d. ini. t. d. 46. ll. 5. yn llê na'r, d. na'i. t. d. 51. ll. 31. yn llê blant, d. ac os plant. t. d. 55. ll. 29. yn llê fodlon, d. foddion.

YN Y GARREG WEN, &c. t d. 4. ll. 27. yn llê ymofyniad. d. ymddangosiad. t. d. 13. ll. 19. yn llê gwerfawr d. gwerthfawr. ll. 22. d. er Tragwyddoldeb. ll. 26. d. hi heb Gromfachau. A chofia ddileu'r cromfachau, a'r geiriau sy' rhyngddynt yn ll. 29.——— t. d. 16. ll. 30. yn llê felldith, d. fendith. t. d. 44. ll. 32. yn llê enu, d. neu, t. d. 44. ll. 16. yn llê Bŷd, d. Bŷd arall. t. d. 46. ll. 14. yn llê i fod d. ac i fod. t. d. 47. ll. 14. yn llê gawn d. gwan.



*Adnodau i foliannu* DUW, *gan yr un Awdwr.*

FY Enaid bach rho 'th bwys ar DDUW,
Tra bost ti yn y Bŷd yn byw;
Ac di gai ddyfod gwedi hyn,
At Frenin Nêf, i Sion frynn.

2 O na ofidia dan y Groes,
Ond cofia GRIST fy'n diodde' 'r löes;
Ti gai dy ddwyn tu fewn i'r llen:
Ti ddwedaist lawer gwaith Amen.

3. Er bod d'elynion o bob tû,
A'n llygredd llawn yn llunio 'n llû:
Ti gai wel'd diwedd ar y gâd,
Sy'n dwyn Gelyniaeth it' a brâd.

4 O f'enaid, paid a blino 'th hun,
Mae DUW erioed i ti yr un;
Ac fel i'th garodd cyn bod Bŷd,
Felly fe'th gariff di o hŷd.

5 Ac er dy fod yn llesg, yn wann,
Yn ofni gofyd, ymhob mann;
Ni âd dy DDUW di 'fyn'd ar gôll;
Fè 'th weryd di o'th heintiau ôll.

6 DUW llâdd fy llygredd, cwyn fi'r lann,
I Bisga frynn sydd hyfryd fann;
A rho im' olwg ar y wlâd,
Llê byddaf bŷth, ger bron fy Nhâd.

7 Mae arnaf chwant, pa brŷd y câf,
'I wel'd y Dŷdd, a'r hyfryd hâf!
Pa brŷd y câf fod o'r tu mewn,
Yn burdeb ôll i gid yn llawn!

8 O DDUW hiraethu 'r wyf, bob Dŷdd;
I frysio 'mlaen trwy fwy o ffŷdd:
A chwennych bod 'r wyf uwch pob braw,
A'r gelyn drwg i gwympo draw.

9

9. Wel' os câf fi, fyn'd mewn i'r Nêf,
Bêth dâl gelynion, Calon grêf;
Os fi gaiff, fyn'd i gôl fy Nhâd:
Bêth dâl i'r gelyn g'odi brâd.

10. Clôd fŷth am ffrwythau Crist a'i ddawn,
Trwy hwn câf lâdd fy llygredd llawn,
A phan gorchfyger hwn ryw brŷd
Caiff DUW y clôd am hyn i gid.

HYMN YR 2.

YR ARGLWYDD, ein hoffeiriad mawr
A ddaeth ar frŷs, o'r nêf i'r llawr;
Ac offrwm cyflawn gym'rodd êf,
Trwy hwn bodlonodd DDUW o'r nêf,

2. Mae 'nawr yn eiste' ar law dde' DUW,
Nid byth i farw mwy, ond byw;
Mae 'n disgwyl frŷ, tu fewn i'r llenn,
Am amser gwych a gair i ben.

3. Mae e' 'no 'n gweled nawr o hŷd,
Pwy yw' rhai ffyddlon fy'n y bŷd:
Ac mae e'n disgwyl, am y Dŷdd;
I'r rhain fod gyd ag ef yn rhŷdd.

4. Mae 'n gweled hefyd ar bob dŷdd,
Pwy yw 'r gelynion, iddo fŷdd;
Mae'n disgwyl am yr Amser twym,
I roddi 'rhain i gid yn rhwym.

5. O DDUW fe ddaw yr amser gwŷch,
I weled dy wyneb heb un drŷch:
Pan delo hyn o brŷd i ben,
Caiff DUW y clôd i gid Amen.



## HYMN Y 3.

O Tyred *ARGLWYDD* Mawr i'th ardd,
Gâd ini wel'd dy wyneb hardd:
Rho drô i'th winllan, hefyd gwêl,
Mor wann yw 'n grâs, mor fâch yw 'n sêl;

2. A rho awelon, mwynion grâs,
I gyffro 'th Lysiau i 'roglu ma's:
Fel bo'm a golwg ffŷdd yn grêf;
Ar GRIST, a'i ail ddyfodiad ef:

3. Ein HARGLWYDD aeth tu fewn i'r llen
Pryd hyn i'r Eglwys 'r oedd e'n Bén,
Pan ddêl ei ail-ddyfodiad ef,
Fe fynnift hon i gid i'r nêf,

4. O Tyred ARGLWYDD JESU ar frys
(Ti orch'ygaist gynt trwy waed, a chwŷs)
Er ein bod ni tu faes i'r llenn,
Ni lefwn ôll i gid Amèn,

5. Ac ni ddifgwyliwn am ein braint,
Sef wyneb firiol gyda 'r Saint:
Gobeithio, fefwn yn ein rhann;
Fe wyr ein DUW p,le bydd y mann.

## HYMN Y 4.

FY Enaid trô, ac edrych gwêl,
Mor fawr yw 'th fai, mor fâch yw 'th sêl;
O edrych trô, a gwêl tu fewn,
Yr Aflan beth fydd yno 'n llawn.

2. Mae arnat ti 'r fâth bechod pwn,
Waith hyn cais nerth yn erbyn hwn;
Ac oni tê, di golli 'r Dŷdd,
Pan byddo rhitta bod yn rhŷdd.

3 Pe cawn i oruchafiaeth grêf,
Ar bechod brwnt a'i Effaith êf;
Mi a dybiwn, nad oes yn bôd,
Un gelyn a'm troi dan ei dro'd.

4. Ond pan b'o pechod arna'i 'n cael,
Yr oruchafiaeth; ( cyflwr gwael ! )
Y gelyn gwanna' fy erioed,
Am troiff i 'n union dan ei droed.

5. O ARGLWYDD tyn, y gelyn hwn
Wyf'n deimlo 'n bod imi yn bwn,
Ac oni tê, fy enaid i
Ni fêdd y fraint, o'r nefoedd frŷ.

6. 'Rw'i 'n chwennych ffôi yn flê', trwy ffŷdd,
Am gael trwy GRIST fy rhoddi 'n rhŷdd,
Gan farnu nad oes braint yn bod,
Ond trwy fâb DUW fy 'r un erioe'd.

7. Can's d'wedodd ef yn eglur ma's,
Mai digon rym fydd yn ei Râs:
Ac y perffeiddir ei nerth ef:
Mewn calon wân, iw gwneud hi'n grêf.

8 O d'wedaid DUW wrth f' Enaid drûd,
Maddeuwyd dy bechodau i gîd:
Ac mai pur lân a fydd efô;
A d'wedaf fi, boed felly b'o.

---

Gogoniant yn y goruchaf i DDUW, ac ar y Ddaear tangnefedd, i Ddynion ewyllys dâ.

*GORPHENWYD.*

# Englynion am yr Llyfyr.

1

GWêl Lyfyr fyfyr faith, ( ddoeth anian,
I'th annog Gydymaith;
O Jachol wedd uchel waith,
Wych dirion Jachawdwr-jaith.

2

Yn Siccr y mae 'r Llyfr mor llawn, ( o wir nodau
Hynodawl a ffyddlawn;
A phâr ddwyn i'r ffordd uniawn,
I garu DUW gorau dawn.

3

TYSTIOLAETH helaeth hylwydd ( ei Destyn,
Dŷd wystyl, Sêf Siccrwydd,
Y GARREG WEN, lawen lwydd,
I'r Credadyn Crŷf dedwydd.

4

Ymma cawn yn iawn i'n Jaith ( ddau Lyfr,
Ddi lefein, ar un waith,
Bydd mîl ai Gwêl yn moli 'r Gwaith,
Mawl i'r JESU melus-jaith.

5

D'ymma Lûn y Dŷn ai dynnu, ( 'n ffyddlawn
Hoffeidd-lân i gredu,
Sweewr crêd yw Siccrwydd cry',
Hawl Rasol o'r hael JESU.

6

Yn llawn O na bawn yn bôd, ( a'r Siccrwydd
Wresoccach yn barod;
Trwy 'm JESU, trôt i 'moddod,
Am feddu'r Nêf, ffŷdd yw'r nôd.

7 Dau

# Ymherthynas i'r Awdwyr

1

Dau Frodyr Awdwyr Odiaith, ( Dau Ath
Dieithred i'r Diffaith;
Dau WR Enwog ar unwaith,
Dau, mewn gwîr, d'yma eu gwaith.

2

Dysgawdwyr C ywyr y cawn; ( y Dynion
A'u doniau yn gyflawn;
Rhoddi ar llêd yn rhwydd llawn;
Ddwys gynnil addysc uniawn.

3

Mae f'awen bwlen heb hawl; ( ni's medraf
Naws 'madrodd iw canmawl;
Dymynwn filiwn o fawl,
Goreu oll i'r gwŷr hollawl.

4

Llithriadau, Beiau, o bŷdd, ( rwi'n meddwl
Y maddeu 'r Darllenydd;
Od Aer 'n graff 'dyw Argrephydd,
Am beth o'r rhai 'n byth yn rhŷdd.

**EVAN POWEL**, Argraphydd a'i Cant.

*Mi anturiais Argraphu 'r Englyniau uchod o f meddwl fy hun, gan obeithio na bŷdd, na 'r Awdwyr na'r Prynwyr yn anfodlon.*

* * *

